9°

# Ffraethebwr

## Sef FFRAETH-DDYWEDIADAU, BYR-CHWEDLAU, &c.



CAERFYRDDIN.

CYHOEDDWYD GAN W. M[illegible] [illegible] F[illegible] SWYDDFA "SEREN CYMRU."

**Pris** 9 [illegible] **Cheiniog.**

o

# Y FFRAETHEBWR:



Yn Cynnwys

Casgliad o Ffraeth-Ddywed-iadau, Byr-Chwedleuon, &c.



CAERFYRDDIN:
W. M. EVANS A'I FAB, SWYDDFA "SEREN CYMRU."
1908.

# Y Ffraethebwr.

———:o:———

*Y Corff a'r Meddwl ar wahân.*

ADRODDIR am Sir Isaac Newton, ei fod unwaith yn brysur yn ymdrechu *solvo* rhyw *broblem* ddyrus—mor brysur yn wir—nes i'r alwad at ei foreufwyd fyned heibio yn ddisylw ganddo. Galwyd ef drachefn a thrachefn, ond ni syflai ef o'i ystafell. Yn ofni rhag i'w hir ympryd effeithio ar ei iechyd, aeth y forwyn ag ŵy i'w ystafell, gyda'r bwriad o'i ferwi iddo. Ond Newton, yn ewyllysio cael llonyddwch, a ddywedodd y berwai ef yr ŵy. Gadawodd y forwyn y *saucepan* a'r dwfr yn yr ystafell, a chyfarwyddodd ei meistr i ferwi'r ŵy am dair mynyd. Yn mhen ychydig, aeth y forwyn i'r ystafell drachefn, rhag ofn ei fod wedi anghofio, a dyna lle yr oedd ei meistr, mewn dwfn fyfyrdod, a'r ŵy yn ei ddwrn, a'r *watch* yn berwi yn y *saucepan.*

---

*Diffyg sylw*

YR ydym wedi gweled ceffylau gannoedd o weithiau ac etto nid ydym wedi sylwi ar ba ochr iddynt y mae fwyaf o flew. Ar yr ochr *allanol,* bid siwr.

---

DYWEDIR i'r ddau hen Bregethwr, Christmas Evans a John Herring, gyfarfod â'u gilydd rywdro yn yr Haf, ar ben rhyw fynydd. "Wel, dyma beth rhyfedd, Nadoiig yn nghanol yr Haf," ebe Herring. "Rhyfeddach o lawer yw gweled Penogyn ar ben mynydd," ebe Christmas arab; ac felly yr oedd, mewn gwirionedd, yn gymaint ag fod Nadolig Awstralia yn anterth yr Haf.

### *Deugain Mil o Ddoleri.*

YN un o ddinasoedd mawrion yr Unol Dalaethau, digwyddodd i hen ŵr oedranus iawn fod ar un ochr i'r heol, ac yr oedd am fyned yn groes i'r ochr arall ond nis gallai gan gymaint y fasnach oedd yn myned yn mlaen ar hyd yr heol. Gwelodd rhyw ŵr ieuanc benbleth yr hen ŵr, ac aeth yn mlaen ato. Wedi deall yr hyn oedd arno ei eisiau, cludodd ef yn groes, a gosododd ef yn ddiogel ar yr ochr arall o'r heol. Bu yr hen ŵr farw heb fod yn hir ar ol hyny, a gadawodd ddeugain mil o ddoleri i'r gŵr ieuanc caredig hwn. Dywedir fod yr hen bobl wedi cael amser lled fywiog yn y ddinas hono am amser maith ar ol hyny, oblegid clywodd pobl ieuainc y lle am y tro uchod, a gwnaethant yn bwynt i edrych allan am hen bobl. Pan welai gŵr ieuanc hen ŵr ar yr heol, elai ato, a chludai ef yn groes i'r ochr arall, pa un bynag a fyddai ef *am* fyned ai peidio. A chyn gynted ag y gosodid ef ar lawr, gwelid ef gan rhyw wr ieuanc arall, yr hwn a'i cludai yn ol i'r ochr arall, ac felly yn y blaen. Wrth gwrs, y deugain mil doler uchod oedd yr achos o'r mwstwr.

---

GOFYNAI Dr. Arthur Jones, o Fangor, i gyfaill rywdro, "Yn mha le y mae y Gymmanfa i fod nesaf, deudwch?" "Yn Lleyn, Mr. Jones." "Da iawn; y mae hi yn ddigôn dilun er's talm."

---

CAMGYMERIAD.—Adroddir chwedl am Syr Robert Vaughan o Nannau, yr hwn oedd yn dra hoff o chwedleua â phawb ar y ffordd, ei fod un diwrnod yn chwilio am ddafad aethai ar grwydr. Cyfarfyddodd hogyn a gyfrifid braidd yn ddiffygiol yn ei *gasometer*, i'r hwn y gofynodd, "A welaist ti yr un ddafad, fy machgen i, a V ar ei chefn hi?" "Dyn anwyl," ebe y bachgen, "na welais i yn siwr yr un ddafad yn ddigon cryf i'ch cario chwi, Syr."

*Pabydd.*—Yn mha le yr oedd crefydd cyn Luther?
*Protestant.*—A ddarfu i chwi olchi eich gwyneb heddyw?
*Pabydd.*—Do,
*Protestant.*—Yn mha le yr oedd eich gwyneb cyn i chwi ei olchi?

---

## *Gwyrth Rifyddol.*

GALLWCH beri cryn ddifyrwch i gwmpeini trwy ddywedyd y medrwch fynegi faint fydd cyfanswm *pum* rhestr o rifnodau, a hyny ar unwaith ar ol i chwi weled y rhestr gyntaf. Dyma'r ffordd i wneyd hyny:—

Meddyliwch fod cyfaill yn dangos y rhestr ganlynol o rifnodau, 763258. Yn awr, ceir allan yr hyn fydd y cyfanswm *(total)* trwy ychwanegu "2" at bob un o'r rhifnodau uchod oddigerth y rhifnod sydd ar y llaw ddehau—y rhifnod "8" yn yr amgylchiad hwn—a gosoder "2" lawr wrthi ei hun ar y llaw aswy i'r rhestr. Y cyfanswm yn yr amgylchiad presenol fydd, 2985478. I wneyd y peth yn eglur, bydd yn debyg i hyn:—

763258
.........
.........
.........
.........
2985478 Y Cyfanswm.

Ceisiwch gan eich cyfaill i beidio defnyddio y rhifnod "0." Yn awr y mae eich cyfaill yn myned i roddi y rhestr nesaf o rifnodau. Gan ei fod wedi dechreu trwy osod *chwech* rhifnod yn y rhestr, ceisiwch ganddo i ddefnyddio *chwech* rhifnod yn mhob rhestr o'i eiddo. Yn y rhestr hon, meddylier ei fod yn gosod 187834. Dyna'r *ail* restr. Yn awr eich tro chwi sydd i osod y rhestr nesaf. Gwnewch fel hyn: Tynwch

(*substract*) bob un o'i rifnodau ef allan o *ddeg*, a gosodwch y gweddill ar lawr i ffurfio'r *drydedd* restr; sef, 923276. Eich cyfaill sydd i osod y *bedwaredd* restr. Meddylier ei fod yn gosod y rhestr ganlynol, 875348. Y rhestr nesaf fydd yr eiddoch chwi. Tynwch bob un o'i rifnodau ef allan o *ddeg* fel hyn, 235762. Yn awr bydd *pum* rhestr o rifnodau. Gosodwch linell yn groes a rhifwch y rhifnodau i'r lan.

763258
187834
923276
875348
235762
2985478 = Y Cyfanswm fel y nodasoch i'ch cyfaill yn mlaen llaw.

Dyma ddau engraifft arall rhag ofn fod rhywbeth yn dywyll yn yr uchod.

| | | |
|---|---|---|
| Rhestr eich cyfaill | 2674 | 368943 |
| Rhestr eich cyfaill | 2345 | 468748 |
| Eich rhestr chwi | 8765 | 642362 |
| Rhestr eich cyfaill | 4463 | 541896 |
| Eich rhestr chwi | 6647 | 569214 |
| Y Cyfanswm fel y nodwyd yn mlaenllaw | 24894 | 2591163 |

## *Y Ddwy Wraig.*

DYWEDIR i ddyn, ychydig dros ganol oed, a'i wallt yn dechreu britho, briodi dwy wraig,—un yn ieuanc yn nghanol ei phrydferthwch, a'r llall yn hen a'r pren almon yn blodeuo, Yn lled fuan ar ol hyn, gwelwyd y gŵr yn myned oddiamgylch yn hollol foel. Fel hyn y bu. Yr oedd y wraig *ieuanc*, bob tro y celai gyfleu yn pigo allan y gwallt *gwyn* oddiar ei ben, er mwyn ei gadw yn ieuengaidd yr olwg, fel hi ei hunan. Yr un modd, yr *henaf*, bob tro y celai gyfleu, a bigai allan y gwallt *du*, er mwyn ei wneyd yn henaidd yr olwg, fel hi ei hunan.

AETH Jonathan Hughes o Langollen, i ffair Porthaethwy, a chlywai fod y Bardd Coch yno gyda gŷr o wartheg, a mawr oedd ei awydd am ei weled, a chan na adwaenai ef mo hono, âi oddiamgylch y ffair o'r naill ŷr at y llall, a holai geidwad pob un o honynt, fel pe buasai yn borthmon, am bris y gwartheg, ac wrth ymadaw, dywedai,—

Ebrwydd y cân y Bardd Coch ;

ac wedi myned drwy'r ffair at y gŷr olaf heb gael ateb, treiai hi yno, gan ddyweyd yr un peth, sef,—

Ebrwydd y cân y Bardd Coch,

pan yr atebwyd ef yn eithaf annysgwyliadwy, ond yn hynod o dderbyniol, fel hyn,—

Sad a gweddus, sut y gwyddoch ?

Ni raid d'weyd mai y Bardd Coch oedd yr atebwr.

---

AREITHYDD unwaith a siaradai o blaid gwraig. "Gwraig anwyl a duwiol," meddai, gan derfynu fel y canlyn:—"O! fy ngwrandawyr anwyl, coeliwch fi, 'does dim yn *curo* gwraig dda." "Begio'ch pardwn, Syr," atebai un o'r gwrandawyr, "mae *gwr drwg* yn gwneyd."

---

"YR ydwyt yn myned yn deneu iawn, fy machgen," meddai mam dyner wrth ei mab un diwrnod. "Ydwyf fy mam," oedd yr atebiad, "ac yr ydwyf yn dysgwyl y gellwch weled fy *asen* cyn bo hir." Yr oedd y gwalch ar fyned i briodi.

---

AETH gwr o Dderwen i'r cynhauaf i Sir Amwythig rywdro, lle y byddai amryw fedelwyr o bentref Helygen yn arfer gweithio. Wrth weled y dyn braidd yn anfedrus gyda'i gryman, gofynodd y ffermwr iddo, "O b'le y dywedasoch eich bod yn d'od?" "O Dderwen, Syr," ebe yntau. "O Dderwen, aïe? yn wir, mi welais eich trech wedi dyfod o *Helygen* cyn hyn."

MR. Pugh o Fostyn, a Mr. Price o Ddinbych, a newidiasant bwlpudau ryw Sabbath, a phan gyfarfyddasant foreu dydd Llun ar fynydd Helygen wrth ddychwelyd adref, agorodd Mr. Pugh dân ar Mr. Price yn uniongyrchol, yn ol ei arfer. "Wel, Price, sut a fu arnoch yn Mostyn acw, a ddaeth rhywun i'ch gwrando?" Mr. Price, yntau yn llawn o ddireidi, a atebodd, "Nid oeddych wedi fy nghyhoeddi I i bregethu, Mr. Pugh; yr oedd pawb yn meddwl mai chwi oedd i fod yno, ac felly yr oedd y Capel yn haner gwag." Gwelodd Mr. Pugh yr ergyd, wrth gwrs, a phenderfynodd dalu yn ol gyda llôg. "Sut fu hi arnoch chwi yn Ninbych acw, Mr. Pugh?" "Sut y bu hi? Ni welsoch chwi erioed y fath sut." "Beth oedd," gofynai Mr. Price drachefn, "a oedd yno lawer o bobl?" "Llawer! llawer! miloedd allan! miloedd allan!" ebe'r arabyd bywiog, a theimlai Mr Price ei fod wedi ei drechu ar ei dir ei hun.

---

"WRTH drafaelio o Rhyl, cyfarfu Mr. B—— â Chlwydfardd, (yr hwn fel y gwyddis sydd *bell-hanger* wrth ei gelfyddyd). Ebe Mr. B——"Y mae rhywbeth ynot Clwydfardd yn tebygu i Calcraft." "Aïe," ebe Clwydfardd. "Oes; C ydyw y lythyren gyntaf yn enw Calcraft, ac C ydyw y lythyren gyntaf yn dy enw di. Crogi yw gwaith Calcraft, a chrogi yw dy waith dithau." "Digon tebyg," ebe Clwydfardd, "ond bod hyn o wahaniaeth—crogi *bywiolion i dewi* y bydd Calcraft, a chrogi *marwolion i ganu* byddaf finau."

---

"YN yr oes o'r blaen pan nad oedd na meirch tanllyd na rheilffyrdd mewn bod, na nemawr o gyfleusderau i deithio fel sydd yn bresenol, cychwynai yr hen fardd John Thomas o Bentrefoelas, ar ei draed am Lynlleifiad, a chyrhaeddai Heol Mostyn erbyn machludiad haul; cafodd lety mewn tafarn yno, ac ar ol myned i'r gwely, ni chafodd fawr o lonydd i orphwys ar ol ei daith luddiedig—ymosodai y *bugs*

arno, gan ei bigo yn erchyll, a'i yspeilio o'i waed yn ddidrugaredd; ond ni wyddai yr hen Fardd mai *bugs* oeddynt, tybiai mai rhyw rywogaeth o chwaen creulawn oeddynt; ac yn nghanol ei ofidiau tost, llefai allan, Mwrdwr! nes oedd y tŷ yn diaspedain. "Holo," ebai gwr y tŷ, "beth yw'r mater?" pan yr atebai y Bardd merthyredig—

"Achwyn 'rwyf ar chwaen yn uchel—yn Mostyn
Dan 'mestyn fy hegel;
Cosi sy' dan bob cesel,
Ffowla o hyd, ond ffaelio hel."

---

DYWEDIR fod y diweddar John Jones, Edeyrn, yn myned trwy bentref Llanystumdwy un bore, ac iddo droi i dafarndŷ i gael gwydraid o gwrw, yr hwn nid oedd o'r fath oreu. Wrth ddychwelyd yn yr hwyr, trodd i'r un tŷ, a galwodd am wydraid arall, pryd yr hysbyswyd ef gan y wraig fod y cwrw wedi darfod! "Nid wyf yn rhyfeddu dim," ebe John, "oblegyd yr oedd yn *wan iawn* pan oeddwn yn pasio heibio y bore."

---

TWM o'r Nant oedd yn ymrafaelio un tro gyda Siamas o Wynedd, yr hwn oedd yn enedigol o Glocaenog, gerllaw Rhuthyn. Edliwiai Twm iddo ei fod yn perthyn i'r hen Simon yr *hangmon*, o Glocaenog, i'r hyn yr atebodd Siamas—

"Nid ydyw Simon'r hangmon
Mewn moddion, ddim i mi;
Ond gresyn garw iddo farw
Cyn tagu d'wddw di!"

---

YR oedd dau Wyddel rywbryd yn yr un carchar—un am ddwyn oriawr, a'r llall am ddwyn buwch. Yr olaf a alwai ar y blaenaf un diwrnod, "Pa faint yw o'r gloch ar dy oriawr, Pat?" I'r hyn yr atebodd y blaenaf, "Nid oes genyf foddion i wybod i sicrwydd heddyw, ond gallwn feddwl ei bod yn *agos i amser godro!*

DYWEDWYD wrth un ffraeth unwaith fod cyfaill iddo wedi myned i briodi. "Da iawn genyf glywed," oedd yr ateb. Wedi sefyll mewn myfyrdod am beth amser, dywedodd drachefn, "Wn i ddim paham y rhaid i mi lawenhau ychwaith yn mhriodas fy nghyfaill, ni wnaeth efe erioed ddim drwg i mi."

---

*Tro digrif.*

RHODDODD dyn ieuanc hysbysiad mewn newyddiadur fod eisieu gwraig arno. Cafodd dri-ugain a dau o atebion—oll oddiwrth wŷr, yn cynnyg eu gwragedd hwynt iddo.

---

BACHGEN llawen a eisteddai unwaith ar giniaw yn nesaf at foneddwr oedd wedi helpu ei hun â darn anarferol o fawr o fara; rywbryd yn ystod y giniaw, efe a ymaflodd yn y bara, pryd y gwaeddodd y boneddwr, "Aroswch Syr, fy mara i yw hwnyna." "O, felly yn wir," meddai y cellweiriwr, "meddyliais mai y *dorth* ydoedd."

---

*Blacking esgidiau.*

CYMMYSGER y pedwar peth hyn nes gwneyd math o *paste* o honynt. 12 wns o *ivory black*, 1 wns o'r *olive oil* goreu, ½ pwys o *treacle*, ½ wns o *gum arabic* maluriedig. Ychwaneger yn raddol, ddau gwart o *vinegar* at y *paste* uchod. Cymmysger yr oll yn dda. Yna cymmerer 1½ wns o *sulphuric acid*, ac ychwaneger ef yn raddol, gan ei gymmysgu fel y gwnawd a'r *vinegar*. Bydd genych yn awr y *Blacking* goreu at wasanaeth eich hun a'ch cym'dogion, os mynant beth. Cadwer ef mewn llestr a chlawr arno fel na bo baw yn myned iddo.

---

"RHEDAI bachgen ymaith nerth ei draed mewn dychryn, wedi taflu careg trwy ffenestr cymydog a'r cymydog ar ei ol. O'r diwedd daliodd y dyn ef, ac a gafael yn ngholer y llanc dychrynedig, dywedai,

"Oni wyddost ti dy fod wedi tori fy ffenestr yn ddrylliau, was?" Atebodd y bachgen ef, bron colli e anadl, "Gwn Syr, ac yr oeddwn yn rhedeg ar fy ngoreu i geisio arian i dalu i chwi am dani."

---

MANTAIS PENFOELNI.—"Yr ydych y bachgen mwyaf hurt ydwyf yn adnabod," ebai ewythr penfoel, mewn tymher groes, wrth ei nai. "Wel," ebe'r bachgen, gan daflu trem ar ben moel ei ewythr, "nis gellwch ddysgwyl i mi ddeall pethau mor gyflym â chwi, oblegyd nid oes arnoch chwi y drafferth o'u cael trwy eich gwallt."

---

"GOFYNODD Ysgotiad i Wyddel paham yr oeddent yn bathu ffyrlingau yn Lloegr; ac ateb parod y Gwyddel oedd, "I roddi cyfleusdra i Ysgotiaid i gyfranu at sefydliadau daionus."

---

*Ffordd ragorol i bigo cynnen.*

CLUDWCH ysgol weddol o hir ar eich ysgwydd ar hyd heol lle bo llawer o bobl, ac edrychwch yn ol yn awr ac eilwaith i weled pwy sydd yn gwneyd ystumiau tu ol i'ch cefn.

---

*Yr Unfed-ar-ddeg Gorchymyn.*

GOFALED pob un am ei orchwyl ei hun, a gadawed orchwylion pobl ereill yn llonydd.

---

NID FFORDD YNA.—"Cadben, pa bryd ydych yn cychwyn?" gofynai teithiwr diamynedd ar fwrdd agerlong oedd yn aros i'r niwl glirio. "Mor gynted clirio y niwl," meddai y cadben. "Wel, mae yn serlo 'nawr uwchben," atebai y dyn. "Ydy', ydy'," ebai y Cadben, "ond nid ffordd yna yr ydym yn myned."

---

CURO DOCTOR.—"Yr oedd gwraig tafarn unwaith wedi codi yn mhen ei gwr, ac mewn cythrwfl, wedi crafu ei wyneb nes oedd ei waed yn rhedeg, gyrwyd am y Dr. i heddychu rhyngddynt. "A oes dim

cywilydd arnoch, madam," ebai'r Doctor, "i drin eich gwr fel hyn—y gwr yr hwn yw pen y wraig?" "Wel Doctor," ebai'r wraig, "a oes dim hawl gan wraig i grafu ei phen ei hun?"

---

"YN mha le y mae dedwyddwch bob amser i'w gael? Yn y Geiriadur."

---

PAHAM y mae yr adar yn y Gwanwyn yn debyg i'r Banciau? Am eu bod yn rhoddi allan nodau addawol (*promissory notes*).

---

PAN yr oedd Gwallter Mechain yn ddyn ieuanc, arferai fyned i dafarn y Lion, ac yr oedd yno gadair yr hon oedd wedi ei neillduo iddo. Un noson daeth Twm y Gro i'r tŷ, ac eisteddodd yn y gadair, ond yr oedd yn rhaid iddo godi o honi, neu wneyd Englyn i Isaac Cydwybod, yr hwn oedd grydd o ran celfyddyd, pan y daeth Walter i mewn. Dyna Twm ar ei draed wedi gwneyd y ddwy linell ganlynol:—

"Isaac ddinac sydd ddyn—naturiol,
Yn tori'r croen gwydyn."

"Gorphen dio Walter," ebe Twm. "Nid oes gorphen heb ddechreu," ebe Walter: "ond gad ei ail-glywed." Adroddodd Twm hwynt wed'yn, ac yn y fan dyma Gwallter a'r ddwy linell a ganlyn:—

"I wsia gydwybod ci dobyn,
Dod ledr o dan lodrau'r dyn."

Gan fod gorphen, yr oedd yn rhaid bod dechreu, felly honodd Twm y gadair."

---

CHRISTMAS EVANS A'I GASEG WEN.—Pan oedd y diweddar Christmas Evans yn gweinidogaethu yn Môn, galwyd am dano i bregethu mewn cyfarfod mawr yn Sir Gaernarfon. Daeth, a phregethodd amryw weithiau. Wedi i'r cyfarfod ddarfod, a phan oedd yr hen bererin yn hwylio ei hun tua chartref, daeth un o'r diaconiaid ato, a dywedodd wrtho ei fod ef a'r

eglwys yn bur ddiolchgar iddo am ddyfod yno, ac am ei bregethau gwlithog; "Ond," meddai, "yr ydym yn hynod o d'lawd fel nas gallwn fforddio rhoddi dim ond *diolch* i chwi am ddyfod—cewch eich talu eto yn adgyfodiad y rhai cyfiawn." "Hy, hy, hy,—caf, caf, caf," ebai yr hen ffraethebydd yn ddigon pesychlyd, "ond y mae traul wedi myned ar yr hen gaseg wèn—tâl am y *feed*, a thâl am y *gates*, ac y mae wedi trafaelio yn galed i'm cario yma atoch chwi. Ni ddywedaswn ddim yn erbyn tâl yn adgyfodiad y rhai cyfiawn, ond fydd yr hen gaseg wèn ddim efo fi yn y farn i gael *share* o'r taliad, gan hyny dylai hi gael ei thalu *yn awr*, a minau aros hyd yr amser hwnw." Hollol gyfiawn, onide?

---

*Yfed Dwfr trwy'r Bwrdd.*

Gosoder gwydraid o ddwfr ar fwrdd, ac yna rhodder het un o'ch cyfeillion arno. Dywedwch yn awr y medrwch yfed y gwydraid dwfr heb i chwi symud yr het.

Fel hyn. Ewch o dan y bwrdd a gosodwch eich genau o dan y man lle y mae'r gwydraid dwfr, a gwnewch sŵn a'ch hanadl fel be baech yn yfed rhywbeth. Yna deuwch allan oddi tan y bwrdd a dywedwch, "Dyna," fel pe baech wedi cwblhau y gwaith. Ar hyn bydd un o'ch cyfeillion, yn cael ei gymhell i hyny gan gywreinrwydd, yn sicr o symud yr het er mwyn gweled os yw y dwfr wedi myned. Yn awr gafaelwch yn y gwydryn ac yfwch y dwfr, a byddwch wedi cyflawni yr hyn a ddywedasoch, sef *yfed y dwfr heb i chwi symud yr het*.

---

BONEDDWR, mewn ciniaw gyhoeddus, a ofynodd i un a eisteddai yn ei ymyl, "A fyddwch chwi mor garedig ag estyn y mwstard i mi?" "Syr," oedd yr ateb, "yr ydych wedi camgymeryd trwy feddwl mai y gwaetiwr ydwyf." "Na," meddai y llall, "camgymerais trwy feddwl mai gwr boneddig oeddych."

"FEL yr oedd y Parch. J. Williams, Llecheiddior, yn marchogaeth un Sabbath tua Chapel yn nghymydogaeth y Garn, i bregethu, gwelai fachgen o ddullweddiad lled henaidd yn myned o'i flaen hyd y ffordd. Wedi ei oddiweddu, efe a ofynodd iddo, "I ba le yr wyt ti yn myned, machgen i?" "I'r Capel," oedd yr ateb. "Pwy sydd yn pregethu yn y Capel heddyw?" "John Williams, Llecheiddior," ebai y bachgen. "Sut bregethwr ydi o?" "Symol," meddai y bachgen. "A fyddi di yn gweddïo weithiau dros y pregethwyr, fy machgen i?" "Dim ond tros ddau." "Pwy ydi'r ddau hyny machgen i?" "T——s W——s, Rh——n, a John Williams, Llecheiddior," meddai y bachgen. "I ba beth y byddi di yn gweddïo dros y rhei'ny, mwy nâ rhywrai ereill, machgen i?" "Fyddai i yn gweddïo am gymhorth i T——s W——s, gael rhywbeth i dd'eyd, ac am gymhorth i John Williams, beidio d'eyd gormod."

---

*Wy mewn potel.*

Gosoder ŵy ffres mewn chwart o *vinegar* cryf am bedair awr ar hugain, ac aiff y plisgyn mor feddal fel y gallwch wthio'r ŵy mewn i botel. Yna llanwer y botel o ddwfr croeyw, a newidier ef ddwy neu dair gwaith y dydd, a bydd i'r ŵy fyned yn galed drachefn. Ond defnyddio potel o wydr goleu, a genau tua modfedd o dryfesur (*diameter*). Gallwch bery cryn syndod i'ch cyfeillion trwy ddangos y cyfryw botel iddynt, a'r ŵy ynddi.

---

GAIR MWYS.—Yr oedd y gynulleidfa yn S—— wedi deall na fyddai y casglydd yn rhoddi dim yn y casgliad ei hunan, ac awgrymodd rhywun hyny wrtho. "O," meddai yntau, "nid yw yr hyn yr wyf fi yn ei ro'i *yn ddim i neb.*"

---

"CYFARFU T. â Clwydfardd yn ngorsaf y rheilffordd. Ebai T., "Pwy a gaf fi i gario fy *mhortmanteau* i fyny

i'r dref ?" "Mi cariaf fi ef," ebai Clwydfardd. "Na," meddai T., "nid wyf am wneyd *porter* o honoch Clwydfardd." "Gwell genyf o lawer," atebai y bardd, "i ti wneyd *porter* o honof na bîr, oherwydd pe byddem yn fîr, llyncit fi yn y fan." Yr oedd T. yn dra hoff o'i wydraid cwrw.

---

DYWEDODD un o gyfeillion Mr. Evans, Llwynffortun, wrtho rywdro, "Mr. Evans, yr ydych gwedi cludo eich hunan yn go lew." "Y mae yn oer, *my dear Sir*," ebe yntau; "ac heb law hyny, y mae dillad y plant bob yr un am danaf fi a'r wraig." Ni bu iddo blant.

---

TAIR GWRAIG RHYFEDD.—"Gwr da, hynod am ei arabedd, a briododd dair gwraig—y cyntaf am ei chyfoeth, yr ail am ei phrydferthwch personol, a'r drydedd a briododd yn ei hen ddyddiau er mwyn ei chael i ofalu am dano a'i gysuro, ond troes allan yn un hynod o ddrwg, ac yn achos o ofid mawr iddo. "Wel," meddai un diwrnod wrth gyfaill, "yr wyf yn fy amser wedi priodi tair o wragedd—*y byd, y cnawd,* a'r *diafol.*"

---

FFOLINEB YN CAEL EI GERYDDU.—"Yr oedd y diweddar Barch. Dr.—— un tro yn rhodio yn ymyl y môr, pan y daeth dau ddyn ieuanc dibris ato a gofynasant iddo a allai eu hysbysu pa liw oedd gwallt y cythraul? Ar ol edrych ar y ddau ysgogyn yn graffus am foment, dywedodd, "Yn sicr dyma beth rhyfedd, dau ddyn wedi bod yn gwasanaethu meistr holl ddyddiau eu bywyd, ac heb wybod lliw ei wallt."

---

## *Nwy.*

I wneuthur nwy (*coal gas*) ar raddfa fechan, cymmerer pibell, a gosoder ychydig fân ddarnau o lô yn y man lle yr arferir gosod y tybaco. Ar ben y mân ddarnau hyn o lô, gosoder darn o glai llaith nes cauad

i'r lan enau y bibell yn hollol. Wedi i'r clai sychu, gosoder pen y bibell yn y tân, i losgi, gan adael y coes i sefyll allan yn glîr o'r tân. Yn fuan gwelir mwg yn dyfod allan trwy goes y bibell. Dyna'r *nwy*—yr un peth a'r nwy sydd yn goleuo ein trefydd ar hyd y nos. Gosoder y mŵg yma ar dân a bydd iddo losgi yn glir am beth amser.

---

RHESWM CADARN.—*Rhys.* "Paham yr ydych yn gwisgo yr hen het salw yna?"

*Owain.* "Am fod fy ngwraig yn dweyd na ddaw gyda mi nes y ceisiaf het newydd."

---

YMERAWDWR, pan ei cyfarchwyd ef un diwrnod gan gardotyn, "Yr ydym oll yn blant yr un tad," a roddodd ychydig iddo. "Nid yw hyn ond rhodd fechan iawn oddiwrth Ymerawdwr," meddai y cardotyn. "Gwir," atebai yr Ymerawdwr, "ond pe byddai pob un o'th frodyr yn rhoddi cymaint i ti, byddit yn llawer mwy cyfoethog nâ mi."

---

PWY GAIFF Y GWELY?—Un noswaith, daeth Swyddog Milwrol, Barnwr, a Phregethwr, i ymofyn llety mewn tafarn gwladaidd, lle nad oedd ond un gwely gwag, a galwyd ar wr y tŷ i benderfynu pwy a'i caffai. "Yr ydwyf wedi gorwedd am bymtheng mlynedd gyda'm cwmni yn N.," meddai y Swyddog Milwrol. "Yr wyf finau wedi bod yn eistedd am ugain mlynedd yn R.," meddai y Barnwr. "Gyda'ch cenad, foneddigion, yr wyf fi wedi bod yn sefyll am bum' mlynedd ar hugain yn y weinidogaeth," meddai y Pregethwr. "Y mae hynyna yn penderfynu y pwnc," meddai y perchenog. "Yr ydych chwi Mr. Cadben wedi bod yn *gorwedd* am bymtheng mlynedd; a chwithau Mr. Barnwr wedi bod yn *eistedd* am ugain mlynedd; ond am yr hen weinidog, y mae efe wedi bod yn *sefyll* am bum' mlynedd ar hugain, ac am hyny ganddo ef y mae mwyaf o hawl i'r gwely."

PAN ddychwelodd Dafydd Roland, y Bala, adref o'r ysgol yn yr *holidays* un tro, dygwyddodd fod rhyw anhwyldeb ar ei law, trwy ei bod yn casglu: a gwisgai gadach i orchuddio y *plaster* roddid arni. Yn y cyfamser, cyfarfu Mr. Davies, Brynheulog, ag ef yn nhŷ capel Llandderfel; ac wrth weled ei law yn orchuddiedig, gofynai Mr. Davies iddo, gan dybied ei fod wedi dysgu digon o Saesneg i'w ateb, "What ails your hand, David?" A dyna Dafydd yn ei ateb mewn iaith bur glasurol, dybiai ef, "It is making a collection, sir." Gwenai Mr Davies, gan ddweyd, "You will soon be rich, I presume, David!" Teimlai Dafydd wrth weled Mr. Davies yn gwenu, ac ereill yn chwerthin, ei fod wedi gwneyd camgymmeriad dybryd. Troai at gyfaill ag oedd yn deall Saesneg yn dda, a gofynai, "Ai nid atebais yn iawn, dywed?" "Naddo," ebe hwnw, "It is gathering, ddylasech ddweyd."

---

COFUS genyf glywed am Wyddel yn gyru mochyn ar hyd yr heol. "Halo!" meddai cyfaill wrtho, "I ba le yr ydych yn myned â'r mochyn?" "Clywch y dyn," ebe Pat, "peidiwch siarad yn uchel. Mae efe yn meddwl cael myned i Cork, ond i Tipperary yr wyf yn myned ag ef."

---

YR wyf yn cofio i mi weled hanes am ddyn yn Llundain oedd yn cymmeryd arno i adferyd chwant bwyd i gŵn pan fyddent wedi ei golli. Aeth boneddiges ato â chi oedd wedi colli gwasanaeth ei gelloedd difaol a threuliol, drwy ei fod wedi myned yn rhy dewyrchus, a chael ei fyd yn rhy helaethwych beunydd, a gofynodd i'r dyn beth oedd yn ofyn am adferu chwant bwyd i'w chi, a pha faint o amser oedd yn angenrheidiol at hyny o orchwyl? Atebodd y dyn, "Mi a'i gwellhaf yn mhen tri diwrnod, a bydd yn rhaid i chwithau dalu i mi bum gini am fy ngwasanaeth." Wedi i'r foneddiges ymadael trodd y dyn ei dwba ar ben y ci, a gadawodd ef yno dros yr amser pennodedig. Yn mhen y

tri diwrnod cymmerodd y ci adref i'r foneddiges, a dywedodd wrthi, "Yr wyf yn credu ei fod dipyn yn well yn awr, ac y gall fwyta ei luniaeth. Rhoddwch beth o'i flaen i ni gael gweled." Hyny a wnaed, a rhyfedd mor gyfeillgar oedd y ci a'r bwyd. Yr oedd y ci yn bwyta fel creadur heb weled bwyd er's tri diwrnod, ac ofnai y foneddiges y buasai yn llyncu y llestr ar ol dodi ei gynnwysiad o'r golwg. Gan gymmaint ei llawenydd am lwyrder y feddyginiaeth, dyblodd y foneddiges y tâl, a chanmolodd fedr y ci-feddyg wrth bob cym'doges a chyfeilles ag oedd ganddi, a chafodd yntau mewn canlyniad y fraint arbenig o osod llawer o gŵn o dan ei dwba.

---

MAE yn debyg fod yr Americaniaid yn ffolach na neb gyda golwg ar yr enwau a roddant ar eu plant. Clywais fod teulu yn Pensylvania, a chanddynt dri mab o'r enwau One Stickney, Two Stickney, Three Stickney; a thair merch o'r enwau First, Second, and Third. Mewn teulu arall, gelwir y plant yn Joseph, And, Another Also, Moreover, Nevertheless, a Notwithstanding. Mewn teulu arall, galwyd y plentyn yn Finis, gan feddwl mai hwn fuasai y diweddaf; ond ganwyd dau fab a merch drachefn yno, a galwyd hwynt Addenda, Appendix, a Supplement.

---

CLYWAIS am feistr wrth gyflogi gwas, a ddywedai wrtho, "Yn awr, John, gwrando arnaf. Yr wyf wedi penderfynu i beidio gwastraffu geiriau yn ormodol; mae yn rhaid i ti ddeall ar un gair, hyny yw, pan y byddaf yn galw am fy ellyn (*razor*), bydded i ti ddod â phob peth angenrheidiol at eillio, heb ddweyd dim yn rhagor, ac felly gyda golwg ar bob peth arall." "O'r goreu," meddai John. 'Mhen ychydig o amser wedi hyny, tarawyd y meistr yn glaf, ac anfonodd John i ymofyn am y meddyg; ond rywfodd neu gilydd bu yn hir iawn cyn dyfod yn ol. Methai y meistr a dyfalu pa beth a ddelai o hono; ond o'r diwedd wele John

yn dod, ac yn ei ganlyn lu o ŵyr traed. "B'le y buost c'yd, fachgen?" ebe'r claf. "Ymofyn y lleill, syr," ebe y gwas. "Pwy?" ebe yntau. "Wel," ebe John, "chwi a'm danfonasoch i 'mofyn y meddyg; ar hyny, tybiais y buasai eisieu cyfreithiwr i wneyd eich ewyllys, eisieu offeiriad i faddeu eich beiau, eisieu menyw i droi eich corff heibio, eisieu saer i wneyd eich coffin, ac eisieu clochydd i dori eich bedd, a dyna nhwy wedi dod yn gryno gyda eu gilydd."

---

FEL yr oedd masnachwr mewn pentref mynyddig ar noson yn y gauaf yn rhoddi *shutters* ar ei ffenestr, drwy y gwydr, efe a welai ddyn tâl a dioglyd, yn rhoddi pwys ymenyn ffres oddiar y *counter* yn ei het. Penderfynodd y siopwr roddi cosp briodol arno yn ddioed; ac i mewn ag ef i'r masnachdŷ, gan gau y drws ar ei ol, a churo yr eira oddiwrth ei draed. Erbyn hyn yr oedd y lleidr a'i law ar y drws, ei het am ei ben, a'r pwys ymenyn ynddi, ac yn awyddus iawn am fyned allan. 'Jack, eistedd i lawr fachgen,' ebe'r masnachydd, 'yr wyf fi yn meddwl na wnai llamaid o rywbeth cynhes ddim drwg i ddyn ar noson fel hon; tyr'd eistedd i lawr.' Yr oedd meddwl Jack yn ddigon terfysglyd erbyn hyn. Yr oedd yr ymenyn yn ei het, ac felly yr oedd yn awyddus iawn am wneyd y goreu o'i draed, ond yr oedd y llymaid cynhes yn glamp o faen tramgwydd ar ei ffordd. Torwyd y ddadl i fyny yn fuan drwy i'r siopwr osod Jack i eistedd ar gadair yn ymyl y *stove*, lle yr oedd wedi ei gornelu gan farilau a llestri, ac yn union ar ei gyfer eisteddodd y masnachwr rhyngddo a'r drws, fel nad oedd modd i Jack i ddianc. 'Ni a fynwn lymaid o gwrw cynhes, fachgen,' ebe'r siopwr wrth agor drws y *stove*, a gwthio cymmaint ag a allai o goed i fewn, 'onite ti a rewi wrth fyned adref.' Yr oedd Jack yn dechreu teimlo yr ymenyn yn ymwasgu ar ei ben, a chan neidio i fyny, efe a dystiodd fod yn rhaid iddo fyned. 'Nid heb gael rhywbeth cynhes i'w yfed,

Jack; tyr'd, y mae genyf chwedl i'w hadrodd i ti hefyd; eistedd i lawr, a bydd yn dawel.' 'O, y mae yn boeth ofnadwy yma!' ebe Jack, gan gynyg dianc am ei fywyd. 'Eistedd i lawr, yn enw dyn, beth yw'r helynt sydd arnat?' 'Ond y mae yn rhaid i mi fyned i borthi'r gwartheg, ac y mae arnaf eisieu hollti coed, a *rhaid* i mi gychwyn,' ebe'r lleidr. 'Bydd ddewr, y creadur ffol, gad i'r gwartheg ofalu am danynt eu hunain, eistedd i lawr i ni gael ychydig o fwynhad.' Yr anffawd nesaf oedd dygiad i mewn ddau wydriaid poeth chwilboeth o *rum*, yr olwg ar y rhai, yn sefyllfa bresenol Jack, oedd yn ddigon i'w ei wallt sefyll yn syth ar ei ben, oni buasai iddo gael ei iro a'i gadw i lawr gan yr ymenyn. 'Yf Jack, yf yn galonog, mae yn noson oer ofnadwy,' ebe'r siopwr. Erbyn hyn yr oedd y lleidr yn dechreu mygu yn gystal a thoddi, ac yr oedd ei enau wedi eu selio fel pe buasai yn fudan, ac yr oedd ffos ar ffos o'r ymenyn yn rhedeg o dan ei het, nes yr oedd ei gadach llogell wedi ei drwytho a'r iriad seimllyd. Siaradai y masnachydd fel pe na buasai dim allan o le, gan wthio coed i'r *stove*. 'Noson oer ofnadwy ydyw hon,' ebai; 'Jack, yr ydwyt yn chwys mawr, beth sydd arnat ti fachgen? Paham na thynu dy het, dywed? Gad i mi ei thynu.' 'Na chewch,' ebe Jack, gan wneyd ymdrech egniol i siarad, a chan daro ei ddwylaw ar ei het; 'na chewch, rhaid i mi fyned—gadewch i mi fyned allan—O gadewch i mi fyned—nid wyf yn iach—yr wyf bron marw—gadewch i mi fyned—bobl anwyl! pa beth a wnaf?' Erbyn hyn yr oedd yr ymenyn yn llifo dros wyneb a gwddf Jack, yn trwytho ei ddillad, ac yn rhedeg hyd yn oed i'w esgidiau. 'Wel, wel, nos da Jack, os rhaid i ti gael myned,' ebe'r masnachwr dyddan, 'yr wyf wedi cael gwerth deunaw ceiniog o ddigrifwch gyda thi, ac felly ni chodaf ddim am y pwys ymenyn yna.'

---

PA bryd y mae menyg yn anwerthadwy? Pan y maent *ar ein dwylaw*.

"HOLO," llefai Yanci unwaith ar Gertmon, yr hwn a ymddangosai ar frys, "faint o'r gloch; lle 'ry'ch chwi'n myn'd; ydi'r aber yn ddwfn; faint y pwys yw'r ymenyn?" "Wedi un—adre'—hyd y lwynau—un geiniog ar ddeg," oedd yr ateb.

---

DYN glwth a ddywedai unwaith, "Mewn trefn i fwynhau gŵydd wedi ei rhostio yn iawn, ni ddylai fod ond dau yn y cwmpeini—yr ŵydd a chwithau."

---

SWYDDOG mewn llys gwladol a gyhuddid o gadw rhyw arian a dderbyniasai ar ran un o'r achwynwyr yn y cwrt. Y Barnwr, wrth weinyddu cerydd ar y troseddwr, a ddywedodd, "Y mae yn rhyfedd nas gallwn gael dynion gonest i wneyd gwaith y cwrt," pryd yr atebai y Swyddog yn ddigyffro, "Nid yw yn rhyfedd o gwbl, fy Arglwydd; ni byddai i un dyn gonest ei wneyd."

---

YR oedd y Dr. Arthur Jones un tro yn pregethu yn Llansilin. Aeth yn dywyll arno cyn diweddu, a daeth rhywun â chanwyll ddimai, ac a'i gosododd ar y pwlpud. "O!" ebe y patriarch chwareus, "Llan-*shilling* y gelwir eich llan chwi, aie? Yr wyf yn newid ei enw, ac yn ei alw yn Llan-*farthing* (Llan-farthyn) o hyn allan."

---

CAWSID benthyg hwyl llong un tro er's ychydig yn ol, i orchuddio llwyfan y pregethwyr mewn cymanfa, a phan y cyrhaeddodd yno, dywedodd un ferch dalentog, "Wel, rhaid fod y pregethwyr yn ymyl, o achos dyma yr *hwyl* wedi d'od."

---

YN fuan wedi y siomedigaeth a gafodd Dewi Wyn o Eifion gydag Awdl Elusengarwch, anfonodd lythyr i un o'r Newyddiaduron, yn yr hwn y gwnai sylwadau llymion ar y Feirniadaeth yn Eisteddfod Dinbych, ac ar y cam a gawsai yn achos ei Awdl; sylwai cyfaill wrtho mewn cyfeiriad i'r llythyr hwn, "Fod pob un

wrth anfon ei waith i Eisteddfod, yn arwyddo yr ymfoddlonai i'r ddedfryd arno, ac y gallai y dystadlaf ei ddawn haeru fel hyn ei fod yn cael cam, am y byddai yn naturiol iddo farnu yn dda am ei waith ei hun." I hyn yr atebodd y bardd, "Nid wyf yn ameu dim na byddaf finau yn meddwl yr un modd yn fy mynydau sobr; ond gwell genyf *droedio* peth arnynt hwy serch *maeddu fy hosanau.*"

---

GOFYNAI Dewi unwaith i un o'i weision, o'r enw William Parry, a ydoedd efe wedi gorphen rhyw orchwyl a benodasai iddo. Atebai hwnw, "Do." Ar hyny dywedodd,—

"Wele, purion, Will Parri,
Gonest iawn, a da gwneist ti."

---

WRTH gyfarfod rywbryd a'i gyfaill Robert ap Gwilym Ddu, cyfarchai y bardd hwnw ef, gan gyfeirio at ansawdd yr hîn, yn y geiriau hyn:—

"Tywydd oer, tuedd eira;"

"Mae bob dydd yn dywydd da,"

ebai Dewi yn y fan.

---

DYWEDODD un unwaith wrth John Evans y Bala, mewn digrifwch, nad oedd yn chwysu fawr wrth bregethu; ac atebwyd y cyfryw ganddo, "Nad oedd raid chwysu wrth ddyweyd y gwir."

---

YR oedd Mr. Williams, Aberduar, mewn cwrdd mawr yn Nghwmaman, un tro, ac yn dwyn i sylw, yn mysg pethau ereill, y gwelliannau rhyfeddol oedd yn cymeryd lle yn y byd celfyddydol. "Ond," meddai, gyda chrochfloedd nerthol, "yr wyf yn gweled wedi dyfod i'r lle hwn fod un peth yn eithriad—y mae *bonneti* y menywod yma yn myned yn ol."

---

CYFARFUWYD ag ef un tro gan ddau o efrydwyr Coleg Llanbedr, y rhai, wedi clywed am ei ddoniau

arabedd, a benderfynasant ofyn cwestiwn iddo yn dwyn perthynas ag *Euclid*, gan feddwl ei goncro yn ddiffael. Wedi cyfarch y naill y llall: "Mr. Williams," ebai un o honynt, "caniatewch pe byddai y Bod Mawr yn creu dau fynydd ar y gwastadedd yna, beth fyddai wed'yn?" "Byddai cwm yn y canol rhyngddynt, bid siwr," oedd yr ateb.

---

FLYNYDDAU lawer yn ol, pan ydoedd yn sefyll ar lan bedd dynes a fuasai am gyfnod maith yn gorwedd yn ei gwely, gofynodd un o'i pherthynasau (yr hon oedd yno ar y pryd,) iddo wneyd penill i'r ymadawedig? "Gwnaf," ebe Mr. Williams, ar yr amod i ti beidio ffromi." Sicrhaodd ef na wnai ddigio, yna esgorodd yr awen ar y penill digrif canlynol:—

"Yma gorwedd Lettis hagar,
'Lawr yn isel yn y ddaear;
Os cara'r bedd fel gwnaeth â'r gwely,
Hi fydd yr ola'n adgyfodi.

---

UN bore Sabboth, pan ar ei daith i bregethu i'w gylch eglwysig, cyfarfu ag un o weinidogion yr Undodiaid, yr hwn oedd yn hollol adnabyddus iddo, ac yn un o'i hoff gyfeillion. "Wel, T. G.," meddai Mr. Williams, "b'le yr âi di i wrandaw heddyw?" "Nid gwrandawwr wyf i fod, canys byddaf yn pregethu fy hun yn y Cribin," oedd yr atebiad. "Yr wyf finau," ebai Mr. Williams, "yn myned i bregethu Crist, i Bethel, Silian."

---

PAN yn talu degwm unwaith i foneddwr a adnabyddid fel un o'r eglwyswyr mwyaf brwdfrydig a phenboeth, cyfarchwyd ef gan yr hen dywysog eglwysaidd fel hyn:—"Mr. Williams, buasai yn fwy priodol lawer eich gweled chwi yn derbyn degwm nâ'i dalu." Ar darawiad amrant atebwyd ef gan Mr. Williams, trwy ddyweyd, "Dos yn fy ôl i, Satan, rhwystr ydwyt i mi; am nad ydwyt yn synied y pethau sydd o Dduw, ond y pethau sydd o ddynion."

Un tro, pan oedd ar ei daith i gwrdd mawr, galwodd yn Pontfaen, ger Llandyssul, wrth fyned heibio; a phan oedd yn y cerbyd yn cychwyn, galwodd Mrs. Davies ar ei ol, gan ofyn, "Pa bryd y deuwch yn ol?" "Cerdd i'r tŷ, cerdd i'r tŷ," ydoedd yr ahebiad ffraethlym, "gad i mi fyn'd yn gyntaf."

---

Cyd-deithiau unwaith a dau o weinidogion o Lanrhystyd i Dregaron. Mr. Williams ar gefn caseg uchel; yr ail ar gefn *pony* o faintioli cyffredin; a'r trydydd ar gefn un "bychan bach," un o'r rhai lleiaf a ellid weled yn cario bod dynol ar ei gefn. Dywedodd yr olaf na welodd un erioed allasai guro yr un bach mewn *trot* o hir-barhad. Atebodd Mr. Williams fod ei gaseg ef yn un o'r goreuon. Taerodd y llall y buasai yr un bach yn siwr o'i maeddu. Safodd Mr. Williams, ac edrychodd arno ef a'r *pony* bach mewn syndod, gan ddyweyd, "Fachgen, 'does dim lle i ddirgelwch yn hwna."—(*Allan o'i Gofiant*).

---

Pan yr oedd y diweddar Christmas Evans yn ymadael â Chaerdydd, anogwyd ef gan un o gynnadleddau y Gogledd i fyned i Gaernarfon, ac fel rheswm dros iddo fyned, dywedodd rhywun yno fod yr anogaeth yn briodol am fod ei ddawn yn taro y lle. "Beth ddywedaist ti?" gofynai yr hen wron, "fy nawn i yn taro y lle. Nid rhyw ddawn lleol fel yna sydd genyf fi, ond dawn i'r holl fyd."

---

Clywsom am y diweddar Rees Davies, gweinidog yr Annibynwyr yn Hanover, Sir Fynwy, unwaith pan oedd yn gweithio yn galed yn yr ardd, i gymydog wrth fyned heibio, ei gyfarch, gan ddywedyd, "Mr. Davies, pa beth ydych yn ei wneyd?" I hyn yr atebai, "Gosod cloron." "Yr wyf yn rhyfeddu atoch chwi eich bod yn gosod cloron yn awr," ebe'r cymydog. "Paham," ebe yntau. "A ydych ddim yn ystyried pa amser ar y lleuad ydyw," ebe cymydog. "Nid yn y lleuad yr wyf fi yn ei gosod," ebe yntau.

PAN oedd Dafydd ab Harri Wynn ar ei ffordd i Eisteddfod Caerwys, yn 1567, darfu i Sion Philip ei orddiwes yn y dref hono, wedi bod ar hyd y nos yn crwydro, a cholli ei ffordd ar y mynyddoedd; a gofynai fel hyn :—

> "Y mwynwr, mi ddymunwn
> Gael enw y lle, hoyw le hwn."

Yna atebodd Dafydd ab Harri Wynn ef yn ebrwydd, fel y canlyn :—

> "Caerwys yw hon, cares hardd,
> Cyrch hen heirddion feirddion fyrdd,
> Cymer i'w nawdd Gymry nordd,
> Côr lle'n tywys cynwys cerdd."

---

PAN oedd Rhys Davies, Saron, yn dychwelyd adref o ryw Gymanfa, cyfarfu rhyw ŵr ag ef ag oedd yn aelod o'r eglwys yr oedd efe i bregethu iddi yr hwyr hwnw, a gofynai iddo, "Pa fodd yr ydych chwi Mr. Davies?" "Yn dda iawn, yn dda iawn," oedd yr ateb. "Pa fath Gymanfa a gawsoch?" "Rhagorol, rhagorol," oedd yr ateb. "Pwy oedd y pregethwr goreu a aeth a'r Gymanfa." "O," meddai Mr. Davies, "nid *races* ceffylau oedd yno."

---

UN tro, cyfarfu Crynwr â John Evans y Bala, ar un o heolydd Caerlleon, ac wrth weled a sylwi ar ei wisg ddirodres, ei agweddiad syml, a'i gerddediad pwyllog, meddyliodd ei fod yn perthyn i'r frawdoliaeth, a dywedodd wrtho, "Y mae yr Ysbryd yn dywedyd wrthyf dy fod yn un o honom ni." "Wel," meddai John Evans, "os ysbryd a ddywedodd hyny wrthyt, ysbryd celwyddog ydyw?" Nis gallesid rhoddi ergyd trymach i un o'r cyfeillion na dywedyd fod yr ysbryd yn dywedyd celwydd wrtho.

---

YR oedd y diweddar John Evans, Llwynffortun, yn hoff iawn, am ryw ysbaid ar ol dechreu pregethu, o siarad llawer am weinidogaeth angelion. Pan oedd unwaith yn pregethu yn ddoniol iawn ar y pwnc yn

Nghaerfyrddin, gofynodd y Parch. D. Charles iddo, "O ba le y daethoch heno, Mr. Evans bach?" "O Bancyfelin, *my dear Sir,*" meddai yntau. "Ho," meddai Mr. Charles, "yr oeddwn inau yn meddwl mai o'r nefoedd y daethoch."

---

Ni chafodd Mr. Evans fyned dan holl urddau sanctaidd y drefn Esgobol; a phan ddywedodd cyfaill wrtho unwaith, "Mr. Evans, dim ond un urdd gafodd y Parch. R. Hill; ac yr oedd efe yn arfer dyweyd ei fod wedi treulio ei oes â dim ond un fotas. Pe buasech chwi yn cael ei un ef, neu efe eich un chwi, buasid yn meddu pâr fel hyny." "Gwir iawn," meddai yntau, "ond ni fuasai yn taro er hyny, oblegyd botasau yr un droed oedd y ddwy."

---

"Yr oeddwn," ebai y diweddar Barch. Thomas Jones, Llanddarog, "yn dechreu pregethu, wedi myned i Gymanfa fawr Llangeitbio, ac yr oeddwn i ac amryw ereill yn cael ciniaw, trwy dalu, yn nhŷ hen grefydd-wraig selog. Yr oeddwn wedi myned cyn ciniaw i lawr i'r gegin, ac meddwn wrth wraig y tŷ, am y cig oedd wrth y tân, Beth yw hwn sydd genych, Siani?" "O, Twmi Jones bach," ebe hithau, "cig dafad anw'l yw e'?" "'Rwy'n tybio taw cig hwrdd yw," ebe finau, ac yr oeddwn yn siwr o'mwnc. Nis gallodd hithau wadu, ond ceisiodd droi yr ystori draw trwy ddyweyd, "Wel, Twmi bach, mae cig hwrdd a Christ yn dda iawn." "Ydyw Siani," atebais, "ond nid oes dim Crist mewn mynu pris cig dafad am gig hwrdd."

---

Yr oedd Mr. Theophilus Jones o Rhydyrefail, Sir Aberteifi, un tro yn dychwelyd adref o ryw dref yn Lloegr, yr hon sydd ar gyffiniau Cymru, ac yn aros un noswaith yn un o brif drefydd y dywysogaeth, ebe un o Ddoctoriaid y lle wrtho, "Pa fodd y maent yn —— Mr. Jones? Pa fodd y maent yn

—— ? Pa fodd y maent yn ——?" "O," ebe yntau, "mi ddywedaf i chwi; y maent yr un fath â chwi yma yn gymwys—oer iawn, oer iawn, oer iawn."

---

BYDDAI y diweddar Domos Jones o' Dinbych, yn llefaru yn Seisneg yn lled fynych yn Ninbych, a hyny ar ddymuniad Saeson a gwyr mawr y dref; ac yr oedd yr hen flaenor John Roberts, y canwr gwych hwnw, yr hwn oedd yn hynod am ei "amen" a'i "ddiolch," wrth wrando pregethau, yn gwneuthur hyny pan bregethai Mr. Jones, Seisneg, er nad oedd yn deall ond pur ychydig o'r iaith. "John," meddai Mr. Jones wrtho ryw ddydd ar ol yr oedfa Seisneg, "a oeddych yn fy neall pan yn llefaru Seisneg?" "Pur ychydig Mr. Jones bach," meddai John. "Wel, os felly," ebe yntau, "pa fodd yr oeddych yn gallu dyweyd amen?" "Wel, yn wir, Syr," ebe yntau, "yr oeddych yn son am *up and down* yn aml iawn, ac yr wyf yn deall hyny yn brofiadol."

---

UN tro, gofynodd J. Jones, Yswain, Gelliwig, i ffraethwr tra ar ei geffyl yn myned heibio iddo: "O yn wir, Richard, beth yw y peth tebycaf a fyddwch yn ei weled i wr boneddig ar gefn ceffyl?" "Teiliwr ar gefn caseg, Syr," oedd yr ateb.

---

GYMERODD yr ymddiddan canlynol le ar reilffordd y Cambrian:—"Holo, ddyn dyeithr, ymddengys eich bod yn trafaelu." "Ydwyf, byddaf yn trafaelu bob amser y byddaf ar daith." "Yr wyf yn meddwl i mi eich gweled yn rhywle?" "Digon tebygol, oblegid bu'm yno lawer gwaith." "Ai nid allai eich henw fod yn Smith?" "Wel, gallai, pe na byddai yn rhywbeth arall!" "A ydych wedi bod yn hir yn y parthau hyn?" "Erioed yn hwy nag wyf yn bresenol—pum' troedfedd naw modfedd." "A ydych yn bwriadu aros yma yn hir?" "Wel, yr wyf yn meddwl aros nes y byddaf yn ymadael." "Yr wyf yn tybied i chwi

gael eich geni yn Sir Fôn?" "Wel, yr oedd lle fy ngenedigaeth yno neu yn rhyw le arall." "Yr ydych yn trafaelu fel pe byddai digon o arian genych chwi?" "Wel, gallasai fod genyf ragor, a gallaswn fod yn gyfoethach." "A oes genych chwi ddim newydd?" "Oes, prynais gareg hogi y bore hwn." "Meddyliais hyny; chwi yw y llafn llymaf a welais erioed ar y ffordd hon."

---

YMENYN HEN.—Beiai mintai o wyr ieuainc yr ymenyn mewn bwyd-dŷ yn ddiweddar. Y wraig a ofynai beth oedd y mater. Dywedai un o honynt, "Gofynwch iddo ef, y mae yn ddigon hen i ateb drosto ei hun."

---

YR oedd C—— y bardd yn farchogwr lledchwith dros ben —— yn gymaint felly ag y tynai sylw edrychwyr wrth fyned heibio. Yr oedd efe unwaith yn marchogaeth ar y ffordd fawr yn swydd D——, pan gyfarfu gwalch cellweirus ag ef, a chwenychai wneyd tipyn o wawd o'r hen fardd, ond hollol gamgymerai ei ddyn. Pan ddaeth yn agos ato, dywedai, "Ddyn ieuanc, a welsoch chwi *deiliwr* ar y ffordd?" "Do," ebai C——, "a dywedodd wrthyf os awn ychydig yn mlaen y cawn weled *gwydd* hefyd!"

---

YR oedd dau gyfaill yn ddiweddar yn teithio mewn cerbydres, ac wedi treulio bathodynod cyffredin ymddiddan yn y cyfryw le aeth yn ddystawrwydd. Ond er mwyn difyrwch, ac er adnewyddu yr ymddiddan, gofynodd un, "Mr. E——, a glywsoch chwi y newydd?" "Pa newydd Mr. F——?" "A glywsoch chwi ddim fod Mr. G—— wedi prynu y *Liverpool Mercury?*" "*Dear me!* naddo yn wir; y fath ddyn anturiaethus yw Mr. G——! Pa faint a roddodd efe am dano Mr. F——?" "Ceiniog," ebe Mr. F——, gyda gwên gellweirus; a pharhaodd yr ysgwrs yn fuddiol a dyfyr hyd ddiwedd y daith.

PAN yr oedd Dr. Pughe yn Llundain, yn fuan ar ol cyhoeddiad ei Eiriadur, yr oedd gŵr o ardal Towyn, Meirionydd, ar gychwyn yno. Cyfarfyddodd un diwrnod â chymydog ffraeth, yr hwn oedd gyfaill mawr i'r Doethawr. Gofynodd iddo a oedd ganddo yr un genadwri at William Owen (enw priodol Dr. Pughe). "Wel," ebe yntau, "os dygwydd i chwi ei weled, dywedwch wrtho fy mod wedi darllen ei Eiriadur drwyddo, ond na chefais i na *gras* na *bendith* ynddo."

---

YR oedd crydd yn ddiweddar yn myned â phâr o esgidiau newyddion i'w perchenog, ac ar yr ystryd, cyfarfyddodd â thafarnwr yn arwain dyn meddw adref. "Holo! Mr. Jones," ebai'r crydd, "yr ydych chwithau yn myned a'ch gwaith adref fel finnau."

---

*Cordial y Peddler.*

GWERTHWR mân nwyddau, yr hwn a elai o dŷ i dŷ trwy'r wlad, a'i siop mewn blwch ar ei gefn, a arferai wneyd fel hyn: Ar ol cludo'r blwch yn hir, byddai nerth y gŵr yn treulio, nes achosi, yr hyn yn anmhriodol a elwir, "y baich yn myned yn drwm." Yn awr codai gareg bwysig oddiar ochr y ffordd, a gosodai hi ar y blwch. Cludai y blwch a'r gareg arno am beth amser. Wedi hyny, taflai y gareg lawr, a theimlai ei faich yn ysgafnach, a medrai gario'r blwch am beth amser ar ol hyny yn ddiduchan.

---

DARLLENAIS unwaith am feddyg lled enwog yn Sir Feirionydd oedd yn chwennych addysgu mab o'i eiddo yn yr un gelfyddyd ag yntau, a byddai bob amser yn arfer ei gymmeryd ganddo, i ymweled â'r cleifion. Un diwrnod, aethant ill dau at ryw wr claf, wrth yr hwn y dywedodd y meddyg, "O! Syr, yr ydych wedi ymddwyn yn annoeth iawn, yr ydwyf yn deall eich bod wedi bwyta *oysters*." "Ydwyf yn wir," atebai y claf, "ond ni feddyliais y buasent yn gwneyd cym-

maint o niwed i mi." "Ni allasech gymmeryd dim a fuasai gwaeth," ebe y meddyg. Yr amgylchiad hyn barodd i'r bachgen ryfeddu at wybodaeth ei dad; ac wedi iddynt fyned allan o'r tŷ, gofynodd iddo, pa fodd y deallodd fod y claf wedi bwyta *oysters*. "Wel, oni welais y cregyn odditan y gwely." Rhyw ddiwrnod aeth y mab ei hun i ymweled â rhyw wr claf yn yr ardal; ond nid hir y bu cyn dyfod adref yn ddigon llipa ei olwg, yr hyn a barodd i'w dad ofyn iddo yr achos o'i dristwch. Yntau a atebodd, "Mi a gefais fy nhicio allan o'r tŷ." "Am ba beth?" "Dim yn y byd ond dweyd ei fod wedi ymddwyn yn annoeth er ei les, *ei fod wedi bwyta ceffyl.*" "'Does bosibl i ti fod mor ynfyd," atebai ei dad. "Wel," meddai'r gwalch, "onid oedd y ffrwyn a'r cyfrwy o dan y gwely."

---

GALWODD John Jones, Tycoch, yn nhŷ cymmydog pa noswaith yma, a chymhellwyd ef i gymmeryd swper gyda'r teulu, â'r hyn y cydsyniodd. Tra yn bwyta, yr oedd Peggy, y wraig, yn para i ddweyd; "Nid ydych yn gallu bwyta dim; tynwch atoch; gwnewch swper *hearty;* cymmerwch dipyn yn ychwaneg yn wir." Ond ar ol iddo orphen ei swper, a ffarwelio â'r teulu, clywodd yr hen wraig yn dweyd wrth ei gwr: "Gwarchod pawb! gallai dyn feddwl na chafodd John Jones yr un tamaid er's mis. Ni welais y fath folgi erioed."

---

"I BA beth y mae arch (*coffin*) dda?" gofynid i blant yn ddiweddar; ac atebodd un ar ol meddwl ychydig, a dywedodd, "Lle i ddyn i fyw ynddo ar ol iddo farw."

---

GWELAIS lun unwaith ar *sign* tŷ tafarn. Yr oedd yno lun y Frenines, llun offeiriad, llun casglwr trethi, llun milwr, llun ustus, a llun gweithiwr; ac yr oedd ysgrifen dan bob un o honynt. Dywedai y Frenines,

Yr wyf fi yn llywodraethu pawb; dywedai yr ustus, Yr wyf fi yn gweinyddu cyfiawnder i bawb; dywedai yr offeiriad, Yr wyf fi yn gweddio dros bawb; dywedai y casglwr trethi, Yr wyf fi yn casglu arian dros bawb; dywedai y milwr, Yr wyf fi yn ymladd dros bawb; a dywedai y gweithiwr druan, Yr wyf finau yn gweithio dros bawb.

---

CYNGHOR.—Dyn yn arfer meddwi, a ddywedai wrth ei wraig un dydd ei fod yn myned i gyfeillach y prydnawn, ac ebai ef, "Gan nad yw'r ceffyl gartref, pa sut y deuaf adref?" Hithau a'i hatebodd, "Gobeithio mai'n *sobr.*"

---

ANFONODD gŵr oedd yn teimlo ei hun yn glaf at ei feddyg, ac wedi bod am gryn amser yn desgrifio ei boenau, dywedodd wrtho, "Yn awr Doctor, yr ydych wedi bod ddigon o hyd yn gwasanaethu arnaf efo'ch physig, ond heb gyffwrdd â'r drwg. Mae arnaf i eisiau i chwi daro ar wreiddyn y drwg, os gallwch mewn modd yn y byd ei gyrhaedd." "Gallaf, gallaf," ebe y Dr. yn ddigon sychlyd, a chan gymeryd ei ffon yn ei law, efe a darawodd botelaid o *Gin* oedd yn sefyll ar fwrdd y dyn claf.

---

DEWIS UN DYEITHR.—Ebai John wrth ei gyfaill, "Y mae Hugh yn ddyn da am lawer o bethau, ond y mae yn hynod am ei gelwyddau. Yr wyf yn ei garu yn fawr, ond yr wyf yn caru y *gwirionedd* yn fwy." (Hugh yn clywed). "Mae yn beth pur ryfedd hefyd dy fod yn caru un cwbl ddyeithr i ti, yn fwy nag un o'th hen gyfeillion."

---

GAIR AM AIR.—Pan oedd lliwiedydd dillad mewn llys barn un tro, gofynwyd iddo godi ei law, gwnaeth hyny, ac yr oedd yn *ddu* hynod drosti. Dywedai'r Barnwr, "*Tynwch eich maneg,*" ac ebai'r lliwiedydd, "*Gwisgwch chwi eich gwydrau.*"

FEL yr oedd Sion Rhydderch ar ei daith trwy Gaernarfon i Bwllheli, efe a ofynodd i un o feib yr awen a gyfarfu ar yr heol yn y dref flaenaf,—

"Ai pell eilwaith yw Pwllheli,"

a chafodd ateb—

"Twenty mile tuhwnt i mi."

---

YR oedd Irishman yn America, yr hwn oedd ganddo wraig a phlant yn yr Iwerddon; ond oedd wedi syrthio mewn cariad ag un o ferched y Yankees, ac yr oedd arno awydd i'w phriodi; ac er mwyn rhwydd-hau y ffordd, danfonodd y nodyn canlynol at ei wraig:—

"Hyde Park, Scranton, Pa.,

"DEAR WIFE,—

These sorrowing lines are to inform you, that I am dead since yesterday morning, and will be buried the day after to-morrow. Comfort yourself and the dear children as well as you can.

I am your late husband,

To Poor Biddy. PATRICK DONOVAN."

---

TALU Y PWYTH.—Ychydig flynyddau yn ol daeth boneddwr i dref B——, a gofynodd mewn gwesty yno am ba faint y cai fenthyg ceffyl i fyned i C——, "Am ddeg swllt," oedd yr ateb. Cymerodd ef, ac wrth ddychwelyd y ceffyl talodd 10s. Ond mynai gŵr y tŷ gael 10s. yn rhagor, "oblegyd," meddai, "am gael benthyg y ceffyl i fyned yno, heb son am ddyfod yn ol, y gofynais y 10s. cyntaf. Talodd y boneddwr yr hyn a ofynodd, a dywedodd fod arno eisieu benthyg y ceffyl dranoeth i fyned i D——. "O'r goreu," ebe ei berchen, "gellwch gael ei fenthyg i fyned yno am bunt." Cymerodd y boneddwr ef, a gadawodd ef yno, gan ddychwelyd gyda' *train*. Wrth dalu, gofynai gŵr y tŷ yn mha le oedd y ceffyl? "O," ebe yntau, "gadewais ef yn D——, canys am ei fenthyg i fyned yno yn unig yr oeddwn wedi cytuno."

Yr oedd yr hen brydydd Dafydd Manuel, o Gwern Afon, yn Mhlwyf Tref Eglwys, Maldwyn, a'i ddau blentyn (Deio a Malen, chwedl yntau) rywdro, yn myned â llafur i'r felin i'w falu; ac ar y ffordd dywedodd Deio, "Dada, yr wyt yn dwndro'n wastad gyda Malen am brydyddu: mi a'i curaf hi'n yfflon." Ar y gair, i lawr â'r cwd oddiar ben Malen; a'r hen wr, gan eistedd a thaflu ei olwg ar olwyn y felin, a ddywedai, "Wel, yn awr bawb am ei ddau fraich gywydd deuair hirion"—

"I'r felin a'i helyn hylaw,
A wna stŵr yn y dw'r draw."

Ar hyn dyma Deio yn rhoi cynyg:—

"Os tyn y felin ati,
Fe glemis Sion a Cadi,"

gan olygu y melinydd a'i wraig. A chyda hyny dyma Malen yn cynyg, a dywedodd:—

"Digona llona bob llaw,
Melin ddwst, mâl yn ddystaw."

Yna atebodd y Tad:—

"Ar hyn o bryd,
Mi gela' marn trwy fod yn fud."

---

Fel yr oedd yr hen wr a'i ferch yn gyru moch i ffair Llanidloes, mynegwyd i fardd o Langurig am ei ddyfodiad. Daeth i'w gyfarfod at y tollborth, lle yr oedd y bardd yn myned heibio, a dywedodd,

"Anfonwch y mochyn gore',
A'i bin yn ei drwyn i ben dre'.

Y ferch Malen a'i hatebodd,—

"Nid pin er hired y pen,
Yn wir, Syr, nid yw ond ŵeirsen."

A dywedodd y gwr pan gafodd yr ateb,

"Y d——l pia chwi a'ch epil."

3

Y MODD I GAEL LLONYDD.—Boneddwr newydd briodi, bob tro y cyfarfyddai â'i dad-yn-nghyfraith, a achwynai yn dost ar dymher afrywiog ei ferch ef. O'r diwedd, wedi blino ar rwgnachrwydd ei fab-yn-nghyfraith, efe a ddywedodd, "Yr ydych yn iawn, y mae hi yn ddyhiren anfad, ac os clywaf achwyniadau yn ei herbyn hi eto, myfi a'i difeddianaf hi o'm heiddo." Fel y gellid dysgwyl ni wnaeth y gŵr ieuanc ddim achwyniadau wedi hyny ar ei wraig.

---

CLOCHYDD Llanfihangel-y-gwynt wrth gyfarch un oedd yn ngefail Llwydiaeth, gan ei hysbysu am ei golled am ei gwd a'i fwyd a adawodd allan tra bu yno, a ddywedai,—

"Cychwynwch, rhedwch mewn rhoch—o'r dafarn,
Le dyfyr a welsoch;
Mae'r hyll mawr 'rol colli moch,
Bwt o faedd wedi bwyta feddoch."

Atebodd Morys ab Robert fel hyn:—

"Cychwynaf, rhedaf o rwyd—y dafarn,
Le dyfyr a welwyd,
Yn Llwydiaeth ym colledwyd,
I faetio baedd am fwyta'm bwyd."

---

MELLDITH ar y dydd y darfu i ni briodi," meddai gŵr wrth ei wraig. "Na, paid melldithio hwnw, da dithau," ebe y wraig, "oblegyd dyna yr unig ddiwrnod dedwydd ddarfu i ni dreulio gyda'n gilydd erioed."

---

WRTH i Argraffydd gael ei alw i ateb llwnc-destyn, dywedodd, "Diolchaf i chwi yn galonog, nis gallaf *wneyd* araeth, ond gallaf *argraffu* un mor faith ag y dymunwch."

---

AMSER yn ol, yr oedd dyn yn byw yn Nghaernarfon, yr hwn a adnabyddid wrth yr enw John Jones, y Saddler mawr. Yr oedd y gŵr hwn yn hynod am ei ffraethineb. Un tro, yr oedd yn dych-

welyd o Glynllifon, wedi bod yn danfon cyfrwy; a thrwy ei fod wedi cael yno fwy na digon o'r pethau sydd yn meddwi dyn, efe a syrthiodd, ac a orweddodd yn y ffos. Hen wraig wrth fyned heibio a ddychrynodd wrth ei weled yno; a chan ei bod yn ei adnabod, gofynodd iddo, "John Jones, ai *ffit* a gawsoch chwi?" "O nage, ysywaeth," meddai yntau, "*gormod* a gefais."

---

Y PAB, Y DIAFOL, A'R CYFREITHIWR.—Meddai cyfreithiwr wrth fachgenyn oddeutu deuddeg mlwydd oed, oedd yn ymddifyru wrth chwareu, hynodrwydd yr hwn a dynasai ei sylw, "Deuwch yma ataf fi, fy machgen i." Y bachgen a frysiodd ato, ac wedi chwedleua peth, gofynodd i'r cyfreithiwr, pa gyfraith oedd i'w *threio* nesaf. "Cyfraith rhwng y Pab a'r diafol," meddai y cyfreithiwr, "a pha un a ennilla debygech chwi?" "Nis gwn i," meddai y bachgen, "meddwl yr wyf ma—ma—i—mae un lled galed a fydd hi; gan y Pab y mae mwyaf o arian, ond gan y diafol y mae y mwyaf o gyfreithwyr.

---

PA fodd y mae W yn debyg i ynys? Am ei bod yn nghanol *dŵr*.

---

AETH Gwyddel i siop cyfrwywr i brynu un spardyn; dywedodd y siopwr wrtho y byddai yn rhaid iddo gael *dau*. "O, na," meddai yntau, "fe wna un y tro, os caf gan un ochr i'r ceffyl fyned, y mae y llall yn siwr o fyned."

---

PEN-GWEITHIWR teiliwr hynod yn Ninbych a froliai mewn cwmpeini cymysg, nas gallai ei feistr gario ei fusnes yn mlaen hebddo ef. Un o'r bechgyn ffraeth a'i hatebodd, na chlywodd efe erioed am deiliwr a allai gario ei fusnes yn mlaen heb ei *wydd*.

---

SWYDDOG milwrol Ffrengig wrth ymrafaelio un-

waith gyda Swyddog Swissaidd, a edliwiai i'r olaf ei fod ef a'i gyd-wladwyr yn arfer ymladd ar unrhyw ochr am arian, "tra yr ydym ni y Ffrangcod," meddai, "yn rhyfela am anrhydedd." "Ië, ïe," atebai y Swiss, "y mae pob un yn ymladd am y peth y mae brinaf o hono."

---

GOFYNODD boneddiges unwaith i'r bardd G——, beth oedd yr achos fod cariad yn cael ei arddangos bob amser fel plentyn? "O herwydd," meddai y bardd, "nad yw byth yn cyrhaedd 'blynyddoedd pwyll a doethineb."

---

DYWED hen lanc mai yr achos nad oes atal-dywedyd ar ferch, ydyw am ei bod yn siarad mor brysur fel nad yw *atal-dywedyd* byth yn cael amser i roddi gair i mewn.

---

PERTHYNAI Gwyddel un tro i gartreflu Sir Dinbych, ac yr oeddid yn dàl sylw nad oedd ei grys mor laned ag y buasai ddymunol ei fod er anrhydedd i'r gartrawd. Cadben ei gwmpeini, oherwydd y diffyg yma yn Padi, a'i galwodd allan o'r rhenc un bore, ac a'i cyfarchodd fel y canlyn:—"Patrick O'Flyn, pa mor hir y byddwch chwi yn gwisgo eich crys?" "Wyth modfedd ar hugain, Syr," ebe Padi, mor sythed ag yntau."

---

CYMRO o Sir Fôn, dranoeth ar ol iddo gyrhaedd i Lundain, a ofynodd i gyfreithiwr, "Pa adeilad yw yr un yna," gan gyfeirio ei fys at y llysoedd cyfreithiol. "Melin," ebe gŵr y cwilsyn, gan wenu ar yr hen frawd diniwaid. "Yr oeddwn yn meddwl hyny," ebai y Cymro, "oblegyd yr wyf yn gweled nifer luosog o asynod o amgylch y drysau gyda sachau."

---

YMFFROSTIAI rhywun mewn cwmpeini y gallai brawd iddo ef gofio pregeth o'r dechreu i'r diwedd, wedi ei chlywed neu ei darllen unwaith; i'r hyn yr atebai Gwyddel, nad oedd hyny yn ddim o'i gymharu

a'i daid ef, yr hwn a allai gofio pregeth bob gair heb ei darllen na'i chlywed erioed.

---

GOFYNWYD i hen ŵr boneddig, yr hwn oedd yn ymadael â morwyn ddiog, gyda golwg ar ei chymeriad, a oedd arni ofn gwaith. "O! nac oes mewn un modd," meddai yntau, "oblegyd y mae'n fynych yn gorwedd i lawr ac hyd yn nod yn cysgu wrth ei ochr."

---

PAHAM na thynwch eich cap wrth gyfarfod â gŵr boneddig?" meddai Arglwydd F—— wrth fachgen oedd mewn ymdrech gyda llo ar fin y ffordd. "Os bydd i'ch arglwyddiaeth ddàl y llo, mi a wnaf hyny yn ewyllysgar," ebai y bachgen.

---

CADBEN llong a waeddai allan, "Pwy sydd i lawr yna?" Atebodd bachgen, "Wil, Syr." "Beth wyt yn ei wneyd?" "Dim byd, Syr." "Ydyw Tom yna?" "Ydyw." "Beth wyt ti yn ei wneyd Tom?" "Helpu Wil, Syr."

---

"O! Mr. B.," meddai bachen tàl wrth berson bychan oedd yn sefyll gyda haner dwsin o ddynion lled fawr o gorffolaeth, "yr oeddych mor fychan, ar fy ngair, fel na ddarfu i mi eich gweled hyd yn awr." "Digon tebyg," meddai y dyn bychan, "yr wyf fel chwech gwŷn yn nghanol chwech o geiniogau mawr —yn anhawdd fy ngweled, ond yn werth yr oll o honynt."

---

GALWODD cardotyn tylawd un tro wrth ddrws bydwreig-dŷ, a gofynodd am lety noswaith. Daeth benyw i'r drws, a dywedodd wrtho, "Ewch ymaith, ewch ymaith—nid yw hwn yn lle i chwi; lle i orwedd i mewn yw hwn." "Och yn wir, ynte," ebe y cardotyn, "dyma'r lle i mi, oblegyd yr wyf wedi bod yn *gorwedd allan* er's tair noswaith."

Cyfarfu Hugh Jones o Langwm, un tro â William Wynn o Langynhafal, yr hwn a ofynodd iddo,—

> "Ai prydydd *neat* hylwydd wyt ti?"—"fe'm henwyd
> O anian y rhein'ni;" ebai H. J.
> "Gan ynfydrwydd gwn na fedri," ebai W. Wynn.
> "Ni thawa'i chwaith—bendith Duw i chwi," ebai Huw.

---

Ysgolfeistr: "Yn awr blant, a all un o honoch ddywedyd wrthyf beth a feddylir wrth yr *oesoedd tywyll?*" Ar ol cryn betruso, atebodd un o honynt: "Yr oesoedd cyn i yspectols gael eu dyfeisio!"

---

Y Counsler a'r Tyst.—"Wel, Mr. Jones, y mae genych fab gwirion, onid oes?" "Oes, Syr," oedd yr ateb. "A ŵyr e' rywbeth?" "Pur ychydig." "Pa faint a ŵyr efe?" "Wel, y peth nesaf i ddim: dim llawer mwy na chwithau." Caniatawyd i'r tyst fyned ymaith heb ragor o holi.

---

Yn ddiweddar clywid hen Grynwr a'i wraig yn llefaru yn dra uchel mewn cweryl y naill a'r llall. Gwaeddai y gŵr, "Yr wyf yn benderfynol i gael un wythnos ddystaw gyda thi, beth bynag!" "Ond pa fodd y medri di ei chael," meddai y wraig, yn y dôn hono y mae gwragedd yn ei medru mor dda pan yn herio eu gwŷr. "Mi a'th gadwaf am wythnos ar ol i ti farw," meddai y Crynwr.

---

"Melldith ar ben y dyn a ddyfeisiodd weithio wrth oleuni canwyll," meddai saer. "Ië, ac wrth oleuni dydd hefyd," meddai ei brentis a safai wrth ei ochr.

---

"Nhad," meddai bachgen bychan un diwrnod, "y mae arnaf eisiau gofyn cwestiwn i chwi." "Beth yw o, fachgen," meddai y tad, yr hwn oedd yn dra nodedig am ei arferion annghymedrol o ddiodydd meddwol. "Wel," meddai y bachgen, "dyma fo:—Sut y mae tŷ tafarn fel swllt drwg?" "Ni wn i ddim

yn siwr," meddai y tad, gan gosi ei ben. "Sut y mae o, dywed?" "Fel hyn," meddai y bachgen, "am na fedrwch chwi mo'i basio fo!"

---

DYN unllygeidiog a ddaliai gyda dyn arall y gallai efe (yr unllygeidiog) weled mwy ag un llygad nag a allai y llall gyda dau. Derbyniwyd y cynyg. "Yr ydych wedi colli," meddai y cyntaf; "gallaf fi weled *dau* lygad yn eich gwyneb chwi, tra nas gellwch chwi ganfod ond *un* yn fy ngwyneb i."

---

BONEDDWR o arferion dioglyd a ymwelai â'i gyfeillion yn fynych a maith. Derbyniwyd ef un tro yn garedig gan Grynwr, yr hwn a weiniodd arno yn y modd goreu dros amryw ddyddiau. O'r diwedd, dywedodd y Crynwr, "Fy nghyfaill, ofnaf na ymweli di â mi byth drachefn." "O, gwnaf, gwnaf," ebe yr ymwelydd. "Yr ydwyf wedi mwynhau fy hun gystal, byddaf yn sicr o dd'od eto i'ch gweled." "Na," ebe y Crynwr, "yr wyf yn meddwl na theli ymweliad arall byth â mi." "Beth sydd yn peri i chwi dybied hyny," gofynai yr ymwelydd. "Wel," ebe y Crynwr, "os na wnei di ymadael y tro hwn, pa fodd y gelli ddyfod eto?"

---

YR HAUL WEDI CODI JOHN.—"Cwyd, John, rhag cywilydd, mae yr haul wedi codi ys meityn," meddai ei fam. "Chwareu teg mam," ebe John, "yr oedd yn ei wely yn hir o fy mlaen i. Ond i mi gael myned i'm gwely gydag ef, yr wyf yn foddlon codi gydag ef."

---

YR oedd y diweddar Dr. Phillips o Neuaddlwyd, unwaith yn cyd-bregethu âg un o enwad arall, yr hwn yn aml a ddywedai lawer o ddigrifwch wrth bregethu. Ar ol darfod pregethu aethant i dŷ yn y man, a dechreuodd y Doctor ddywedyd rhywbeth yn ddigrif, yn ol ei arfer; yna ei gyfaill a ddywedodd, "Yr oeddwn yn meddwl wrth eich gwrando chwi yn

pregethu nad oedd dim digrifwch yn perthyn i chwi, Mr. Phillips." "O (ebe fe), yr unig wahaniaeth sydd rhyngom yw, eich bod chwi yn d'weyd eich *digrifwch yn* y pwlpud, a minau yn ei ddyweyd *allan* o hono."

---

GOFYNODD gwraig iddo unwaith, pan welodd D.D. ar ei lythyrau, "Pa beth yw'r D.D. sy'n awr ar eich holl lythyron?" "Wn i ddim beth ydynt (ebe yntau), os nad y'nt yn arwyddo *Dyn Dwl;* yr wyf fi a chwithau yn myned yn *ddwlach* fel y b'om yn heneiddio."

---

BONEDDWR un tro, wrth fyned heibio i eglwys yn y wlad, yr hon oedd yn cael ei hadgyweirio, a sylwodd wrth un o'r gweithwyr ei fod yn credu mai *job* ddrud a fyddai. "Ië," meddai y dyn, "ond yn fy nhyb i, bydd i ni gyflawni yr hyn y mae ein parchus offeiriad wedi methu ei wneyd mewn deng mlynedd ar hugain." "Beth ydyw hyny," meddai y Boneddwr. "Wel," meddai y dyn, "dwyn yr holl blwyf i brofiad o *edifeirwch.*"

---

GWEINIDOG yn Ll—— a draddododd bregeth a ganmolid yn fawr gan un o'r gwrandawyr. "Yr oedd yn bregeth dda yn sicr," meddai y boneddwr wrth ba un y dywedyd hyny, "ond wedi ei lladrata yr oedd." Adroddwyd hyny i'r pregethwr, yr hwn a'i gwadodd, ac a fynai i'r boneddwr alw ei eiriau yn ol. "Myfi a wnaf hyny," meddai y boneddwr; "dywedais eich bod wedi lladrata y bregeth, ond gwelaf fy mod wedi camgymeryd, canys ar ol myned adref, a throi i'r llyfr o ba un y tybiais ei bod wedi ei lladrata, *canfyddwn ei bod yno bob gair.*"

---

GWYDDEL a ddygwyd unwaith o flaen ustus heddwch ar y cyhuddiad o briodi chwech o wragedd. "Pa fodd y gallasoch fod yn ddyhiryn mor galon galed," meddai yr ustus. "Rhynged bodd eich anrhydedd," meddai Pat, "chwilio am un dda yr oeddwn."

MEDDYG llong ryfel a arferai gynghori cymeryd dwfr hallt at braidd bob anhwyldeb. Hwyliodd un prydnawn ar bleser-daith; ac wrth ddychwelyd, dymchwelodd y cwch a boddodd y meddyg ac amryw ereill. Bore dranoeth, holai y cadben un o'r llongwyr yn ei gylch, pa le yr ydoedd. I'r hyn yr attebai Jack, "Bu foddi neithiwr, Syr, yn ei gyffur-gist ei hun."

---

YMFFROSTIAI Cymro unwaith wrth Sais, ei fod ef yn cofio priodas mor fawr yn ei gymydogaeth ef, fel nad oedd yno lai na haner cant o gogyddion. "Ië," meddai y Sais, "yr oedd hyny trwy fod pob un yn tostio ei gaws ei hun."

---

YR oedd Twm o'r Nant yn ei hen ddyddiau yn byw yn Lôn Saron, Dinbych, gyferbyn a'r Capel Mawr, fel y gelwir addoldy y Methodistiaid yn y dref hono; a gwraig y Bardd a'i ferch yn aelodau yn y capel hwnw, ac yntau ei hun yn wrandawr cyson. Ar ol yr oedfa ar nos Sul, dychwelai ef i'r tŷ, ac arosent hwythau ill dwy ar ol yn y *society*. Un noson, dygwyddodd fod yno gyfrinach anarferol o faith, ac yntau wedi glân flino yn disgwyl am danynt iddo gael swper. "Ac mi ddaethoch o'r diwedd, do?" ebai ef. "Do, Thomas bach," ebe'r wraig. "Wyddoch chwi beth 'rwyn meddwl yn siwr fod geny' gymaint o grefydd yn y bôn â'r un o honoch chwi." "Yn y bôn y mae hi i gyd, 'nhad," ebai'r ferch, yr hon oedd yn barod ac yn ddoniol yn ei hatebion heblaw ei bod yn farddones dda, "yn y bôn y mae hi i gyd, 'nhad bach," ebe hi, "nid oes dim o honi yn y canghenau." "Gwir a ddywedaist ti 'ngeneth i, 'rwyt ti yn un o fy nghanghenau i," ebai yntau.

---

CYFARFU Bardd Nantglyn ac yntau â'u gilydd un diwrnod yn nhref Dinbych, ac yr oedd Thomas ar ei ffordd i'r *Bull*, ar ryw neges neu gilydd. "Yn mh'le

byddwch chwi yn mhen tipyn, i ni gael ymgom?" ebe Robert Davies,

"Mae'r Eidion uwch ben yr adwy,
Tad y llo bach a dd'wed lle bwy'."

ebe yntau.

---

YR oedd dau fardd yn cyfarfod â'u gilydd yn rhywle ar y mynydd heb fod yn mhell o Selatyn, ger Croesoswallt, ac un o honynt yn glimach berfain, yr hwn a gyfarchodd ei frawd fel hyn,—

"I b'le mae'r daith hirfaith hon?"
Ateb—"I geisio mawn goesau meinion."
"Oes lety i'w gael yn Selatyn?"
"Oes, main ei goes, mwy nag un."

---

UN tro, aeth Twm Siamber Wen at Bersondy Llanrhaiadr'yn Mochnant i ofyn tamaid. Cofier mai yr enwog Dr. Worthington oedd y Ficer y pryd hwnw. Cafodd grystyn du a chaled o law y Dr. ei hunan. Gofynodd i'r Dr. yn ostyngedig iawn, a wnelai efe ddysgu ei bader iddo. "O, gwnaf yn union," ebai y duwinydd,—"Ein Tad, meddai y Ficer; "*Eich* Tad," meddai Twm. O'r diwedd cododd y Person ei lais, a dywedodd, "Dywed EIN TAD." "Ydi 'o yn dad i ni ein dau?" ebai Twm mewn syndod; "Ydyw siwr, mae ef yn dad i ni ein dau." "Os felly, yr ydych chwi a minau yn ddau frawd." "O, ydym siwr, yr ydym yn ddau frawd." "Wel, mewn difri'," ebai Twm, "oes arnoch chwi ddim cywilydd rhoi y fath grystyn du â hwn i'ch *brawd*?" Cafodd Tomos dafell braf o'r "dorth ganrhyg," yn dâl am y cerydd, ac aeth i'w ffordd ei hun yn llawen.

---

DYWEDIR i Huw Morris o Bontymeibion, ac Edward Morris o'r Perth Llwydion, adnabod eu gilydd am y waith gyntaf mewn ffair; Huw yn gwerthu ychain, ac Edward yn porthmona. Byddai'r hen bobl yn galw yr ych cadarn fyddai yn cerdded y gwys wrth aredig,

yn rhychawr, a'r un ysgafnach fyddai wrth ei ochr yn cerdded y softyn, ych gwellt, neu y gwelltawr. Gwyddai E. M., fod H. M., yn y ffair, a cherddai yn mysg yr anifeiliaid, gan gyfarch eu perchenogion ar gân,—

"Duw ar yr ychain,—p'run ydyw y rhychawr?"

Synai y dynion at ei awen, ond ni wyddent pa fodd i'w ateb, eithr pan ddaeth at eidionau H. Morris, ac adrodd yr un geiriau, dyna ateb parod,—

"Peidiwch a gwylltio, y fi yw y gwelltawr."

A dyna'r ddau yn myned i'r dafarn, ac yn annghofio'r ffair yn merw a dwndwr yr awen.

---

YR oedd Twm o'r Nant yn chwareu antarliwd un tro pan wedi cyrhaedd gwth o oedran yn Llangynhafal, Dyffryn Clwyd. "Wel, wel, Tomos bach," ebe rhyw hen gyfaill wrtho, "pryd yr ydach ch'i am roi gne i'r chware yma?" Atebodd yntau gydag ochenaid,—

"'Rwyf wedi blino yn wawd i blant,
Nid dyma'r Ne' i Dwm o'r Nant."

---

MEWN brawdlys yn ddiweddar, tystiai gwraig ym mhlaid ei mab, a thyngai "ei fod yn arfer gweithio ar y tyddyn er pan anwyd ef." Y cyfreithiwr oedd yn ei chroesholi a ddechreuodd ofyn, "A ydych chwi yn dywedyd fod eich mab yn gweithio ar y tyddyn er pan *anwyd* ef?" "Ydwyf," ebai y wraig. "Beth oedd ganddo ef i'w wneyd y flwyddyn gyntaf?" "Sugno," oedd yr ateb. Aeth pawb i chwerthin, a chaed diwedd ar yr holi."

---

"GYFAILL," ebai y masnachwr wrth Wyddel, "ti a doraist dy addewid." "O! na ofalwch," meddai Pat, "gallaf wneyd un cystal â hithau."

"PA hyd yr arosodd Adda yn Mharadwys cyn iddo bechu?" ebai gwraig wrth ei phriod mwynaidd y dydd o'r blaen. "Hyd nes y cafodd wraig," oedd yr ateb.

---

"GWNEWCH ffordd yna," ebe aelod o genadaeth weriniaethol yn awdurdodol, "y ni ydyw cynddrychiolwyr y bobl." "Gwnewch ffordd eich hunain," atebai llais o'r dyrfa, "y bobl ei hunain ydym ni."

---

DYWEDAI cyfreithiwr unwaith wrth feddyg, "Yn sicr, fy ngalwedigaeth i yw yr hynaf, oblegid llofruddiaeth Abel yn ddiamheu oedd yr achos troseddol cyntaf." "Siwr iawn," ebe'r meddyg, "ond cyn i hyny gymeryd lle, yr oedd asen wedi ei chymeryd o ystlys Adda, a hono oedd y weithred lawfeddygol gyntaf." Aeth y cyfreithiwr yn fud.

---

GOFYNWYD unwaith gan gyfreithiwr i ddyn ac oedd wedi ei alw i gynghaws i'r dyben o brofi cywirdeb bil meddyg, "A fu'r meddyg yn ymweled â'r claf amryw weithiau wedi iddo ddyfod allan o berygl?" "Naddo, Syr," atebai y tyst, "yr oeddwn yn tybied y claf mewn perygl tra y parhaodd ymweliadau y meddyg."

---

ARBED AMSER.—Cafodd offeiriad, ychydig amser yn ol, ei ateb yn ffraethlawn, gan ei aradwr o Wyddel, yr hwn a eisteddai ar ei aradr, gan orphwyso ei geffyl. "Patric," meddai'r hybarch foneddwr, gan ymddangos yn hynod gynil, ac yn llawn difrifwch, "fyddai ddim gwell i ti gael caib i godi'r llwyni ar hyd y gwrych yma tra bydd y ceffyl yn gorphwys?" "Syr," atebai Pat, gyda'r un gwynebpryd o ddifrifwch ac a wisgasai ei feistr, "fyddai ddim gwell i chwithau gael llestriad o bytatws i'r pwlpud, i chwi gael eu pilio yn barod i'r crochan, tra bydd y gynulleidfa yn canu?" Aeth y parchedig foneddwr ymaith dan chwerthin ei oreu.

PROPHWYDO A PHREGETHU.—Galwodd un gweinidog dro yn ol yn nhŷ un o'i aelodau. Yr oedd y gweinidog ei hun yn blino y gynulleidfa trwy ddarllen ei bregeth bob amser. Yr oedd gwr y tŷ yn darllen penod o brophwydoliaeth Eşaiah, pan ddaeth y gweinidog i mewn, "Beth ydych yn wneyd, John?" gofynai. "Prophwydo, Syr," oedd yr ateb. "Nage, nage, John, darllen prophwydoliaeth, dywedwch." Atebodd John, "Wel os yw darllen pregeth yn bregethu, pa'm nad yw darllen prophwydoliaeth yn brophwydo?"

---

DAL YR ARADR.—"Onid oeddech chwi yn dyweyd wrthyf fi y gallech ddal yr aradr?" meddai ffermwr wrth was o Wyddel oedd newydd gyflogi at aredig ei dir. "Och, meistr," ebai Pat, "cym'rwch bwyll i chwi gael deall: a sut wyf fi yn myn'd i'w dal pan mae dau geffyl yn ei thynu ymaith! Stopiwch chwi y ceffylau yna, a mi daliaf hi cystal ag ungŵr."

---

"MAE eich llaeth yn ymddangos yn deneu iawn, heddyw," meddai gwraig wrth y llaethwr wrth dderbyn ceiniogwerth o laeth o flaen y drws. "Ydyw yn wir, ma'm; y rheswm am hyny yw, i'r gwartheg gael cawod drom o wlaw wrth ddyfod tua'r tŷ."

---

DYWEDIR fod Sion Robert Lewis, yr Almanacwr, yn ddiarebol am ei ffraethder. Gwysiwyd ef un tro, i ymddangos o flaen Esgob Bangor, am gadw ysgol yn ddi-drwydded. I Fangor yr aeth, a chafodd yr anrhydedd o ymddiddan â'r "Gwir Barchedig Dad yn Nuw," yr hwn, ar ol maith ymgom o barth egwyddorion addysg, a ofynodd iddo, "Yn mha le y buoch chwi yn dysgu seryddiaeth?" "Ar fryniau Clynog, fy Arglwydd Esgob," ebe yntau, "wrth gadw defaid fy nhad, ac wrth ymofyn am danynt pan y cyfeiliornent."

GOFYNAI rhyw offeiriad iddo unwaith, "Yn mha le yn y Beibl y ceir cefnogaeth i gynal 'Seiat Fisol'?" gan feddwl cymdeithasfaoedd, neu gyfarfodydd misol y Trefnyddion Calfinaidd. Atebodd yn ebrwydd, "Bydd hefyd o newydd loer i newydd loer, ac o Sabbath i Sabbath, i bob cnawd ddyfod i sefyll gerbron yr Arglwydd; ac y mae y lloer yn newydd bob mis, fel y dywedwch pan y gweloch hi gyntaf ar ol y newid 'Dyna leuad newydd?'"

---

YR oedd gwraig foneddig yn byw nid can' milltir o Gaergybi, gan yr hon yr oedd awrlais wedi anhwyluso; a chan fod Sion Robert Lewis yn medru ar y gelfyddyd o drin y cyfryw beirianau, anfonwyd am dano i'w adgyweirio. Cyfrifid y foneddiges yn un gybyddlyd a cheintachlyd, ac yn un nad arferai roddi digon o ymborth i'r rhai a'i gwasanaethai. Wedi rhoddi yr awrlais mewn hwyl, cyrchwyd ef i'r neuadd at y gwasanaethyddion i gael ei giniaw. Ac wedi i'r cyfan a ddodasid ar y bwrdd ddiflanu, daeth y fenyw i mewn, a chan edrych arno, dywedodd, "John, a gawsoch chwi ddigon?" Edrychodd yntau arni hithau yn lled ffrochlyd. "Digon," meddai, "do, Madam, mi gefais ddigon i godi y newyn oddiar ei nyth." Dywedir i'r ateb byr, ond cynwysfawr hwn, gael y fath effaith ar y foneddiges, fel na chlybuwyd cwyn byth mwy yn ei phalas o herwydd prinder ymborth.

---

DENWYD ef unwaith gan un o'i gyfeillion Gwyddelig i addoldy Pabyddol, lle y canfu dyrfa fawr yn ymgynulledig, oll yn dra defosiynol â'u gwynebau tua'r dwyrain. Cydffurfiodd yntau. Ond wedi bod yn yr ystum hono am yspaid maith, cododd ar ei draed yn nghanol y gynulleidfa, a phenliniodd eilwaith, yn groes i bawb, â'i wyneb tua'r gorllewin. Ei gyfaill synedig a erfyniodd arno ddychwelyd i'w ystum blaenorol. "Na, na," meddai yntau, "dysgwyliais

ddigon o hyd am oleuni o'r dwyrain, ond nid oedd dim; mi a droaf gan hyny, i edrych a oes gobaith o'r gorllewin.

---

"AI chwi yw y pengrwn sydd i bregethu yma heddyw?" gofynai un o erlidwyr crefydd yn Llanfair i Sion Moses. "Ni wn i ddim fod fy mhen yn grwnach nâ phen rhywun arall; edrychwch chwi," ebe Sion, gan ogwyddo a dynoethi ei ben. "Mi doraf eich pen chwi os beiddiwch ddyweyd gair wrth y bobl yma heddyw," ebe'r erlidiwr. "Byddaf yn dalach nâ chwi wedyn," ebe y llefarwr, yr hwn oedd ddyn tàl.

---

PAN oedd y ddau hen bregethwr Edward Watkin a John Pierce unwaith, â'u cyhoeddiad yn Sir Fflint, syrthiodd ofn cwn ar John, fel na ellid cael ganddo gychwyn o'r lle yr oedd i fyned rhagddo i'w gyhoeddiad er dim. "Y mae yn syn genyf atoch John," ebe Edward Watkin, gan droi ato yn brysur, "fod eich ffydd mor wan, gan fod addewid wedi ei rhoddi yn erbyn neb o blant Israel ni symudai ci ei dafod." "O'r goreu Ned," ebe John Pierce, "gan fod gair fel yna yn y Beibl, ni a gychwynwn heb ddim ychwaneg o siarad. Pa beth yw cwn i ni mwy?"

---

*A oes benywod yn y nef?*

Coleddai ef y farn nad aeth benyw erioed adref i ogoniant, oblegid yn Dat. viii. 1 dywedir, "A phan agorodd efe y seithfed sel, yr ydoedd gosteg yn y nef megis dros hanner awr." Anmhosibl, yn ol ei feddwl ef, oedd cael gosteg am gymaint o amser, os oedd hyd y nod *un* fenyw yno.

---

*Peth nas gellir ei gredu nâ'i amheu.*

Dydd Gwener, Hydref yr 28ain, yn y flwyddyn 4004 C.C. y crëwyd Adda.

YR ydym wedi cwrdd a rhai dynion yn eu llawn faint yn analluog i atteb y cwestiwn syml hwn: "Pa beth sydd debycaf i gath yn edrych drwy ffenestr?" Yn yr ymgais i atteb, clywsom bethau chwerthinus iawn yn cael eu dweyd.

Yr atteb yw. Cath *arall* yn edrych drwy ffenestr.

---

MEWN parth gwledig o'r dywysogaeth, digwyddodd i bregethwr ieuanc fyned i lettya i dafarndŷ, lle yr oedd nifer o ddynion ieuainc yn ymddifyru mewn siarad am *driciau*. Dywedai un o honynt y mentrai ef, ar ol iddo dori cylch â sialc ar y llawr—cylch, dyweder tua dwy drodfedd o dryfesur—y delai y cyntaf a elai i mewn iddo allan o hono ar ol iddo ef alw arno ond *unwaith*. Wrth weled nad oedd neb yn anturio i'r cylch, dywedodd y gŵr dieithr y mentria ef swllt na ddeuai ef allan o hono ar ol galw arno ond *un*waith. Aeth i fewn. Yn awr galwodd yr hapchwareuwr arno wrth ei enw priodol, a cheisiodd ganddo i ddyfod allan. Ysgydwodd y pregethwr ei ben, a dywedodd nas deuai, ac arhosodd yn y cylch am gryn amser yn wrthddrych chwerthiniad i'r rhai a elent i fewn ac allan. Maes law, tarawodd i feddwl y pregethwr, nad oeddid yn bwriadu galw arno drachefn. Gwelodd yn awr drwy y tric. Rhuthrodd allan yn gywilyddgar, a thalodd ei swllt.

---

DYNA sŵn a wna y pryfedyn bychan hwnw sydd mor adnabyddus ar ein haelwydydd—y criced.

Beth pe bae *elephant* yn meddu ar alluoedd i wneyd sŵn ar yr un raddfa! Pe safai ar un o draethau Cymru, a rhuo, medrai preswylwyr America glywed ei sŵn.

---

DYWEDIR, ac ni fedrwn wadu hyny, fod gan y Twrc gymaint o chwain yn ei grys, fel, pe neidient oll ar yr un pryd, y neidient o Dyddewi yn groes i'r Iwerddon.

UNWAITH, pan yr oedd y Parch. Lewis Rees, Mynyddbach, ger Abertawe, yn chwilio am ei geffyl ar y Mynyddbach, â ffrwyn yn ei law, cyfarfu ag ef dri o ddynion ieuainc o efrydwyr perthynol i'r Eglwys Sefydledig. Penderfynodd y tri ei anerch mewn dull dyeithr; y cyntaf a'i cyfarchodd ef fel hyn:—"Pa fodd yr ydych chwi heddyw, y tad Abraham?" Yr ail a'i cyfarchodd:—"Pa fodd yr ydych chwi heddyw, y tad Isaac?" A'r trydydd a'i cyfarchodd:—"Pa fodd yr ydych chwi heddyw, y tad Jacob?" gan wenu arno. "Ho, ho, o felly yn siwr," ebe Mr. Rees, "gyfeillion ieuainc, yr ydych wedi camsynied yn fawr, nid wyf fi nac Abraham, nac Isaac, na Jacob, eithr Saul mab Cis ydwyf fi, yn dyfod allan i chwilio am asynod fy nhad, a mi a fu'm yn hynod o ddedwydd; dyma fi wedi cael tri o honynt gyda'u gilydd yn y fan hon; dyma'r ffrwyn a thyna'r asynod!" Ffwrdd yr aethant wedi cael digon ar hyn o bryd.

---

AR ryw dro goddiweddwyd Mr. Rees gan gyfreithiwr coegfalch yn nghyfeillach offeiriad y plwyf; y cyfreithiwr, wedi clywed am ei synwyr parod ar bob achlysur, i'r dyben i'w brofi, a gyda llaw i ddangos ei synwyr ei hun, a ofynodd iddo, "Mr. Rees, a fyddwch chwi cystal ag ateb gofyniad neu ddau a ofynaf i chwi?" Atebodd Mr. Rees, "Os medraf, mi wnaf." "Wel, Mr. Rees, a oes priodi yn y nefoedd?" Atebodd Mr. Rees, "Syr, nac oes dim o'r fath beth yno." "Wel," ebe y cyfreithiwr, "pa fodd y gwyddoch chwi hyny?" I'r hyn yr atebodd yntau, "Am nad oes yno offeiriad yn y swydd o briodi, nac un cyfreithiwr i seinio y weithred."

---

CYFARFYDDODD David Thomas, gweinidog yr Annibynwyr yn Penymain, Sir Fynwy, unwaith â chymydog, yr hwn a ddaliai y posibilrwydd i ddyn gyrhaedd perffeithrwydd ar y ddaear, wedi iddo ofyn pa fodd yr

ydoedd, atebodd ef yn bruddaidd, "Yn wir, Mr. Thomas, yr wyf yn ofidus annghyffredin." "Hawyr," ebe yntau, "beth sydd yn eich blino." "Wel," ebe'r dyn, "yr oeddwn wedi byw un mis ar ddeg heb bechu, ac yr wyf wedi myned i bechu eto." "Wel, tost yw eich anhap," ebe Mr. Thomas, "pe buasech yn sefyll yn eich perffeithrwydd am fis yn hwy, chwi fuasech wedi enill eich plwyf ar dir santeiddrwydd."

---

RHYW brydnawn daeth pregethwr at ei dŷ, aeth un o'r plant allan i dderbyn ei anifail, pryd y gofynodd iddo a oedd ei gyhoeddiad ef yn Mhenmain y noson hono? Atebodd, "Nad oedd." Yna yr aeth i'r tŷ mewn tymherau lled gynhyrfus, ac wedi cyfarch Mr. Thomas, dechreuodd achwyn mor aflwyddianus yr oedd wedi bod ar ei daith: "Ni welais i y fath beth erioed, y mae satan wedi dyrysu fy nghyhoeddiadau trwy yr holl wlad." "Na, na," ebe Mr. Thomas, "paid a meddwl R. bach fod gan satan un llaw yn y peth; yr wyt ti a'th gyhoeddiadau islaw sylw satan; fe wyddai yr hen dywysog o'r goreu pe cawsid dy gyhoeddiad yn mhob man, na fuasit yn gwneyd fawr ddrwg i'w deyrnas ef, ac felly ni welodd ef un gwerth yn dy gyhoeddiadau i gymeryd trafferth i'w rhwystro."

---

MEDDWL YR UN PETH A CHYFLAWNI.—Tra yr oedd gwraig, yr hon oedd babyddes, o flaen offeiriad pabaidd yn cyffesu, dywedodd ei bod wedi meddwl cyflawni pechod erchyll, ond na chyflawnodd ef. "Mae meddwl yr un peth a chyflawni," ebe'r offeiriad, "a rhaid i chwi dalu yr un peth; a chan mai fferm-wraig ydych, gellwch dalu trwy ddyfod â chosyn da i mi." Dranoeth aeth y wraig yno heb un cosyn. Gofynodd yr offeiriad yn union am y caws. "Wel, yn wir, meddyliais ddyfod ag ef," ebe'r wraig. "Ië,

ond ni thal meddwl ddim i mi, rhaid i mi ei gael." Atebodd y wraig, "Oni ddywedasoch ddoe fod meddwl yr un peth a chyflawni?" Ac aeth y wraig allan gyda "Bore dawch."

---

TAN YN Y PWLPUD.—Ceisiwyd gan offeiriad yn mhen llai nâ blwyddyn ar ol ei benodiad i le newydd i roddi ystôf yn yr Eglwys. Gofynodd pa mor hir y bu ei ragflaenor yno, a phan atebwyd iddo, "Deuddeg mlynedd." Dywedodd, "Wel, yr wyf yn credu na chawsoch erioed dân yn yr Eglwys yn ei amser ef, ai do fe?" "Naddo, Syr," ebe yr erfyniwr, "ond yr oedd genym dân yn y pwlpud yr amser hwnw."

---

## *Ffeithiau dyddorol.*

PE gollyngid careg i syrthio o le uchel, teithiai 16 troedfedd tuag i waered yr eiliad (*second*) gyntaf.

PE gosodid canwyll wêr mewn dryll yn lle y bwled, a phe saethid hi yn erbyn astell, elai yn hollol drwy yr astell, ac yn debyg iawn, ni thorai y ganwyll wrth wneyd hyny.

PE saethid bwled blwm o ddryll yn syth lawr i ddwfr, nid yn unig fe dasgai y bwled yn ol, ond byddai nôd *flat* i'w weled arno yn y fan a darawodd yn erbyn y dwfr.

PE saethid bwled plwm at ffenestr wydr, elai y bwled drwy y gwydr gan wneyd twll crwn ynddo, ond heb dori na chracio y gwydr.

DUR yw y corff cryfaf adnabyddus i wybodaeth ddynol.

O'R holl feteloedd, *aur* yw y metel mwyaf morthwyliadwy. Gellir curo un fodfedd *solid* o hono yn haen deneu yn ddigon o faint i orchuddio llawr ystafell 50 troedfedd o hŷd wrth 40 troedfedd o lêd. Hyny yw, gellir curo modfedd *solid* o hono â morth-

wyl fel ac i ffurfio llen o ddwy fil o droedfeddi ysgwâr.

Y deimwnt yw y peth caletaf ag sydd adnabyddus i ddyn. Hyny yw, fe farcia y deimwnt bob defnydd arall, ond ni farcia unrhyw ddefnydd arall ei wyneb llyfn ef.

PE soddid corcyn 200 o droedfeddi dan wyneb dwfr ni chodai drachefn i'r gwyneb. Rhwystrid ef i wneyd hyny gan bwysau aruthrol y dwfr fyddai rhyngddo a'r gwyneb.

---

Y mae'r Gwyddel yn ddiarebol am ei ffraethineb. Gan nad pa mor anhawdd yw iddo i gael yr ardreth yn barod mewn pryd i berchenog ei dŷ, neu gan nad pa mor galed yw cael arian y dreth yn barod erbyn y daw y casglwr, ymddengys mai gwaith rhwydd gan Pat yw cael atteb ffraeth mewn pryd i bawb. Ebe dyn unwaith, yn chwenych gwneyd Pat yn wrthddrych gwawd, "Paham nas tori ffwrdd beth o'th glustiau, Pat?—Maent yn afresymol o hir i *ddyn*." "A phaham," ebe Pat, yn uniongyrchol, "nas estynu dy rai di?—Maent yn afresymol o fyr i *asyn*."

---

UN diwrnod dringodd Moolla Museerodeen i'r areithfa mewn teml Dyrcaidd—*mosque*—ac anerchodd y gynnulleidfa fel hyn. "O chwi hâd y Ffyddloniaid; A wyddoch chwi yr hyn a fwriadwyf ddywedyd?" Attebodd y gynnulleidfa, "Na wyddom." "Yna," ebe fe, "Nid yw o un lles i mi i wastraffu amser ar y fath giwdaid ystyfnig o bobl."

Y dydd canlynol, gwnaeth yr un modd, a dechreuodd gyda'r un gofyniad.—"O chwi ganlynwyr y Prophwyd! A wyddoch chwi yr hyn a fwriadwyf draethu?" Y tro hwn y bobl a atebasant, "Gwyddom." "Felly," ebe fe, "nid oes achos i mi i ddweyd un gair yn mhellach."

Tranoeth drachefn, aeth i'r areithfa, a rhoddodd yr un gofyniad. Yr oedd y bobl wedi penderfynu i'w ddala y tro hwn, ac attebasant. "Fe ŵyr rhai o honom, ond y mae yma rai nas gwyddant." "Felly," ebe fe, "dyweded y rhai *a* wyddant wrth y rhai *nas* gwyddant."

---

PAN ofynwyd i Wyddel a fyddai ef yn arfer a chwyrnu pan yn cysgu, atebodd, "Nis gwn, am na byddaf yn gallu cadw fy hun yn effro yn ddigon hir i wybod."

---

"WEL, mae o'n debyg i'w dad," ebai *nurse* ar yr achlysur o fedyddiad plentyn, ac yr oedd ei dad yn 70 oed, ac wedi priodi gwraig ieuanc. "Ydyw, yn debyg iawn," ebai hen ferch sychlyd, "'does ganddo yr un dant yn ei ben."

---

Y DYN GWAETHAF.—Pan oedd bachgenyn yn cael ei holi, gofynwyd iddo yn mhlith pethau ereill, "Pwy oedd y dyn gwaethaf?" "Moses," ebe'r bachgen. "Moses!" gwaeddai y parson, "Pa fodd y gallai hyny fod?" "Pa fodd," ebe yntau, "fe dorodd ef y gorchymynion i gyd ar unwaith."

---

"YR wyf wedi colli fy ystumog," ebai llarp daneddog o Wyddel wrth gyfaill iddo, yr hwn a atebodd, "Gobeithiaf na chafwyd hi gan ddyn tlawd, oblegid byddai yn sicr o'i ddifetha mewn wythnos."

---

SAIS yn gweled Cymro a'i bwys ar bost lamp yn edrych ar angladd yn dyfod allan o dŷ, a aeth ato, a chymerodd yr ymddiddan a ganlyn le rhyngddynt :— "Ai angladd yw hwnyna?" "Ië, yr wyf yn meddwl." Rhywun neillduol?" "Yr wyf yn credu ei fod, Syr."

"Pwy sydd wedi marw?" "Y gwr boneddig sydd yn yr arch, Syr."

---

DARLITHIWR dwl a diafael, a ddywedai, "Nid yw yr holl ynfydion wedi marw eto." "Nag ydynt," ebe cnaf, "neu ni buasech chwi yma i dd'weyd hyny."

---

GWEINIDOG wedi pregethu yn faith, a ofynodd dranoeth i un o'i wrandawyr pa fodd yr oedd yn hoffi ei bregeth; atebodd, "ei bod yn dda, ond yr oedd wedi bod yn achos difetha gwydd gwerth dwy o honi."

---

BONEDDWR ag oedd heb dalu i'w letywraig am rai wythnosau, a gwynai un bore fod ei goffi heb setlo. 'Gwell i chwi setlo am y coffi, a chwyno wedyn,' atebai gwraig y tŷ.

---

GOFYNWYD i hen lanc unwaith i ba beth yr oedd priodas yn debyg. 'Tebyg ydyw,' meddai, 'i beiriant trydanol—mae yn gwneyd i chwi ddawnsio, ond nis gellwch ollwng eich gafael.'

---

'BETH yw eich galwedigaeth?' gofynai'r ynad i garcharor yn y cwrt. 'Sylwedydd ydwyf.' 'Sylwedydd! Beth ydyw hyny?' 'Un yn edrych o'i amgylch yn y dydd i weled beth a all ladrata yn y nos.'

---

"YR wyf yn cael fy mhoeni yn fawr gan sŵn yn fy mhen," meddai un llanc wrth y llall. "Y rheswm am hyny yw fod dy ben di yn wâg," ebai ei gyfaill wrtho. "Oes dim sŵn byth yn dy ben di?" ebai'r cyntaf. "Nac oes byth." "A wyddost ti paham?" "Na wn i." "Ond am fod crac ynddo."

WRTH holi plant yn yr Ysgol Sul y dydd o'r blaen, gofynwyd iddynt, "Beth yw gwaith prophwyd?" Wedi ychydig o ddystawrwydd, atebodd bachgenyn bychan, "Gwneyd Almanac."

---

PAN glyw'n y geiriau, "Onid wyf yn feistr arnaf fy hun?" yn cael eu llefaru yn fostfawr oddiar wefusau dyn ieuanc, fe'n hadgofir am atebiad Tywysog Ffrengig i'r dyeithrddyn a ddaliodd yn un o ystafelloedd ei balas. "Holo," meddai'r Tywysog, "i bwy yr y'ch chwi yn perthyn?" "I mi fy hun," atebai y dyeithr yn sarug. "Y fath resyn," meddai'r Tywysog, "fod genych feistr mor ddrwg."

---

YR oedd gwr hoff o'r ddiod feddwol, yn ddiweddar, ben borau, yn pwyso ei ben sâl ar arffed ei wraig. Gofynai y wraig yn dawel iddo, "William, a yw gwr a gwraig yn un?" "Wel, ydynt," oedd yr ateb. "Os felly," ebai'r wraig, "yr oeddwn i yn feddw iawn yn d'od adre' neithiwr, ac fe ddylai fod cywilydd ar fy wyneb."

---

CWYNAI y gwrandawyr wrth eu gweinidog ei fod yn darllen ei bregethau, a gofynent paham y llusgai ddarnau o bapyrau gydag ef i'r pwlpud. Atebai yntau fod yn rhaid iddo—nas gallai gofio'r bregeth. "Wel, wel, os ydych chwi yn methu cofio eich pregeth, lle da i ni fedru."

---

PAN oedd Dic Aberdaron yn sefyll ar heol yn L'erpwl, canfuwyd ef gan hen wr ag oedd yn cydfyned ag amryw o'i gyfeillion, yr hwn a ddywedodd wrthynt, Dacw *Dic*, âf ato, a chewch glywed y caf ryw ateb ffraethgall ganddo, er y tybir gan lawer ei fod yn wirion: gofynodd iddo, "Pa sawl iaith a fedrwch chwi siarad, Richard?" Atebodd yn ddioed, "Dim ond *un*

ar *unwaith;*" ac y mae hyny yn ddigon i bob dyn ar unwaith.

---

RHYW dro, pan ymwelodd â thŷ rhyw foneddwr yn agos i Gaernarfon, darfu i un o ferched ieuainc y boneddwr hwtio Richard yn nghylch ei farf hirlaes, a gofyn iddo, Pa'm na bai yn ei thori? I hyn yr atebodd yn dra ffrom, "Ho! Madam, pan ewch *chwi* yn *farber*, cewch chwi roddi *shave* i mi."

---

DYGWYDDODD pregethwr gyfarfod ag ef mewn siop lyfrau yn L'erpwl; cynygiodd y llyfrwerthwr iddo lyfr ar *Geomancy*, "Ho," ebai Richard, "dysgu dweyd *ffortun* wrth gardiau y mae hwn; nid wyf yn hoffi dweyd *ffortun* wrth gardiau, gwell genyf fi y planedau." Gofynodd y pregethwr iddo, A oedd yn tybied ei fod yn beth posibl rhagddweyd ffawd dynion trwy y fath wyddoriaeth? "Ni fu erioed beth hawsach nâ hyny," atebai Richard, "oblegid nid oes ond *ffortun* neu *anffortun* am dani, ac y mae felly mor bosibl i chwi ddweyd yn *iawn* ag ydyw i chwi fisio."

---

BARDD Nantglyn a gyfarfu â Twm o'r Nant un diwrnod, ac a'i cyfarchai fel hyn:—

"Dyma Tomos â dwy res o fotymau?"

I hyn yr atebai Twm, gan gyfeirio at swydd y bardd,—

"Y teilwr am twyllodd 'gael tâl am y *tyllau*."

---

PAN oedd Huw Morys, Pont y Meibion, mewn tŷ cymydog yr hwn oedd warden Llansilin, daeth gwraig lled ieuanc i ymofyn cymhorth o'r plwyf; ac ar ol grwgnach a'i holi yn ol ac yn mlaen, rhoddodd rhyw-

faint iddi er cael gwared o honi. Yna trodd at Huw Morys gan ei holi am ei farn fod cymaint o rai mor ieuanc yn pwyso ar y plwyf. I hyn atebodd y bardd:—

"Tylodi, priodi cyn pryd,—i fythu
Ac i fethu mewn adfyd;
Plant gan blant methiantlyd,
Dyna'r bai sy'n diwyno'r byd."

---

DRO arall, yn Nghastell y Waen, gofynodd am gusan i un lodes landeg, sef y goges, ond ni chai heb ei ofyn mewn englyn. Yna Huw Morys a roddodd hwn o'i blaen,—

"Y fun lân, moes gusan, moes gant,—moes eto,
Moes atynt hwy bum' cant,
'Rwy'n dysgwyl wyth fil o'th fant
Heb naca, dyro naw cant,"

---

PRIODAS.—

Eb' Susan wrth Billy, wrth godi ei 'stwr,
"Yr wyf yn melldithio yr awr oe's di'n wr,"
"Paid! paid!" ebai Billy, "can's hono i'r rhod
Oedd 'r *unig awr hapus* a gawsom erio'd.

---

MEDD Siencyn wrth fwyta caws gwyddonllyd, "Yr ydwyf fi fel Samson, yn lladd fy miloedd." "Ydwyt mewn gwirionedd," meddai Morgan, "ac â'r un offeryn hefyd."

---

"A WYDDOCH chwi," ebai corach o Sais wrth Gymro, "eu bod yn arfer crogi Cymry ac asynod gyda'u gilydd yn China?" "Os felly," atebai'r Cymro "mae yn dda i ti a minai nad ydym yno."

---

"YN awr, blant, pwy sydd yn caru pob dyn?"

gofynai un o arolygwyr y llywodraeth i ddosbarth o blant. "Pob dynes," ebai geneth fechan bert ar darawiad amrant.

---

"MAE hi yn dymhestlog iawn heddyw, fy machgen," ebai gweinidog wrth fachgen a adwaenai. "Ydyw, Syr," ebai y bachgen "gwlaw gwlyb iawn ydyw hwn." "A welaist ti wlaw rywbryd heb fod yn wlyb?" gofynai y gweinidog. "Naddo," atebai y bachgen, "ond darllenais mewn hen lyfr iddi wlawio tân a brwmstan yn rhywle; ac yn sicr nid gwlaw gwlyb oedd hwnw."

---

GOFYNAI boneddiges i'r garddwr pa beth oedd yr achos fod y chwyn yn tyfu mwy nâ'r blodau bob amser. "Madam," atebai yntau, "y mae y pridd yn fam i'r chwyn, ond nid ydyw ond mam-yn-nghyfraith i'r blodau."

---

MODDION DIWYGIAD.—"A ydych chwi ddim yn meddwl fod y briodas hono yn foddion diwygiad, Mr. D——?" "Ydyw, yn ddiau, y mae unrhyw beth a doro falchder i lawr, ac a arweinio i edifeirwch yn foddion diwygiad."

---

HEN FENYW BENWAN.—"A ydych chwi ddim yn fy ngweled i yn edrych yn ieuanc iawn?" "Ydych," ebai rhyw walch, "yn edrych fel pe baech newydd ddyfod o'r ysgol fyrddio; ond y mae i'w obeithio y deuwch mewn blwyddyn neu ddwy i fedru darllen, ysgrifenu, eistedd, sefyll, cerdded, a siarad."

---

CYFRIFYDD PAROD.—Yr oedd coegyn yn Llundain wedi meddwl troi amaethwr o'r wlad yn destun gwawd drwy y gofyniad canlynol:—"Os cyst pwys o gaws

ddau bwys o ymenyn, pa faint fydd gwerth dau lwyth cert o gerrig palmantu?" "Dau lwyth gwagen o goegion," oedd yr atebiad.

---

CANIG I GWSG.—Gofynai prydydd i un o'i gyfeillion, pa beth oedd efe yn ei feddwl o'i ganig ddiweddaf ar gwsg. Atebai yntau, "Yr ydych wedi gwneyd cymaint o gyfiawnder â'r testun, fel y mae yn anmhosibl ei darllen heb deimlo ei holl bwysau."

---

PLANT YN Y SENEDD.—"A oes plant yn y Senedd, nhad?" "Nag oes fy mhlentyn, pa beth a wnaeth i ti ofyn?" "Am fod y papyrau yn dweyd y dydd o'r blaen fod yr aelodau wedi cicio *Bill* Mr. Brown allan o'r Tŷ."

---

Y PROFFESWR A'R LLOERIG.—Fel yr oedd proffeswr yn ddiweddar yn cerdded ger Aber——, cyfarfu â dyn lloerig, a gofynai iddo, "Pa hyd y gall dyn fyw heb ddim ymenydd?" "Ni wn i ddim," ebai Siamas, dan gosi ei ben, "pa beth yw eich oed chwi eich hun?"

---

CYMERIAD GRAMMADEGOL.—Gofynid i weinidog parchus, cryf ei synwyr, pa fath un oedd gwraig Mr. ——, a derbyniodd yr holwr yr atebiad canlynol:— "Rhoddaf i chwi ei chymeriad grammadegol—y mae yn enw cadarn, fe'i gwelir, fe'i teimlir, ac fe'i clywir."

---

Dygwyddodd fod Rhys Grythor, yn ddamweiniol, fod ar noson yn Mettws Abergele, yn canu i foneddigion; ac a hwy yn nghanol ei digrifwch, deuai i mewn yno un Thomas Lewis o Lanfachraeth yn Môn, gwr o atebion parod tebyg i Rhys. Wedi myned o honynt

yn gydnabyddus o gyneddfau eu gilydd, drwy ymryson crasineb, ebai Rhys, "Pe buasai fy nhad erioed ar ei ymdaith yn Môn, dywedwn dy fod di yn frawd i mi." "O," ebai Thomas, "nid anhaws i ni fod yn frodyr er hyny, canys byddai fy nhad i yn arferol a dyfod i borthmona i'r wlad hon, ac efallai iddo daro wrth dy fam di." Cafodd Rhys slap yn ei fawd.

---

UN ffraeth ei dafod oedd y gwr uchod o Lanfachraeth. Nid oedd gwasanaeth yn Eglwys ei blwyf un tro, ac yntau a aeth i Fangor o bwrpas i achwyn wrth yr Esgob o'r herwydd, ac erfyn arno gymeryd ymaith y pwlpud, gan ei fod yn beth trwsgl diddaioni. A'r Esgob gan ddeall ei feddwl, a ddywed y gyrai ef bregethwr iddynt. A'r Sul cyntaf y deuai, ac wrth esgyn i'r pwlpud, o fod y llawr yn gnyciog ac anwastad, tripiodd y pregethwr. Yna dywedai Thomas, "Cymerwch ofal, Syr, canys y mae ef yn wyllt iawn; ni farchogwyd mo'no er's blwyddyn." Yna'r offeiriad a bregethodd Seisneg iddynt, ac wedi dyfod allan o'r eglwys, cyfarch gwell a wnai y gŵr parchedig i Thomas, a gofyn iddo pa fodd yr hoffai ei bregeth. Yntau a atebodd, "Yn wir mi a'i tebygwn i iâr yn magu cywion hwyaid."

---

Cyfarfyddodd Twm Shon Catti, un tro, â dyn yn myned i brynu crochan, ac addawodd gael un rhad iddo. Yna hwy a aethant tua masnachdy, a phan oeddynt yn gofyn pris rhai, dywedodd Twm wrth y masnachydd fod twll yn un o honynt, yr hyn a wadodd y dyn yn benderfynol. Er mwyn profi yr hyn a ddywedai, dymunodd Twm ar i'r siopwr roddi ei ben ynddo, ac yna y caffai weled, a thra yr oedd pen y masnachydd yn y crochan, arwyddodd Twm ar i'r dyn tlawd gymeryd crochan arall ymaith. Wedi i'r truan graffu ei oreu, tynodd ei benglog gan sicrhau nad oedd yr un twll yn y crochan. "Yna," meddai Twm, "pa fodd y gallit ti roddi dy ben ynddo?"

Y GWYDDEL A'I FEISTR.—'Eich anrhydedd,' ebai gwas Gwyddelig wrth ei feistr, 'yr oedd Mr. hwn a hwn yn dweyd nad oeddych chwi ddim yn gymhwys i lanhau ei esgidiau fo.' 'Pa beth a ddywedaist ti wrtho fo, Pat?' 'Mi ddywedais eich bod.'

---

YR oedd boneddwr mewn chwareudy un tro, a daeth i'r un eisteddle ag ef ddyn a chanddo fotasau ac yspardunau am ei draed. Cododd y boneddwr ar ei draed a diolchodd i'r dyn, yr hwn yn ei ddyryswch a ofynai am beth yr oedd efe mor ddiolchgar. Atebai y boneddwr yn ddifrifol, 'Am i chwi beidio dwyn eich ceffyl gyda chwi i'r lle.'

---

Y CYNRYCHIOLWYR.—Gwelai offeiriad, yr hwn fyddai yn arfer a phregethu i feinciau gweigion, haid o wyddau yn dyfod i'r tŷ un Sul, pryd y sylwodd, 'Nad oedd ei ardal ef i'w beio yn gymmaint ag a feddyliodd, oblegyd fod ganddo brawf o flaen ei lygaid, eu bod, pan nad allent ddyfod eu hunain, yn danfon cynrychiolwyr i'w wrando.'

---

Y GWEINIDOG A'R PAGANIAID.—Dywedai hen weinidog yn ddiweddar wrth ei gynulleidfa, ei fod ef yn bwriadu myned yn genadwr at y paganiaid yr wythnos drachefn. Daeth un o'r diaconiaid ato mewn cyffro, gan ddyweyd, 'Fy anwyl Syr, ni soniasoch erioed wrthym ni am hyn, pa beth a wnawn?' 'O, frawd,' meddai yr hen weinidog, 'nid wyf yn meddwl myned o'r dref.'

---

Y FFORDD A FYNOCH.—'Pa sawl cnaf sydd yn byw yn yr heol hon heblaw chwi?' 'Heblaw fi! a ydych yn meddwl fy nhramgwyddo?' 'Wel, ynte, pa sawl un ydych yn gyfrif a chynwys eich hunan?'

---

Dododd pregethwr yn y wlad ei holl gynulleidfa i gysgu ond un, dyn gwirion, Sabbath, yn ddiweddar,

gyda'i bregeth ddwl, undonol. Cynddeiriogodd hyn y pregethwr yn dost, a dechreuodd ddyrnu y pwlpud yn arswydus, gan waeddi, 'Beth, y cwbl wedi cysgu ond y dyn gwirion yma?' 'Ië,' ebai y dyn gwirion, 'a buaswn inau hefyd wedi cysgu, oni buasai fy mod yn un gwirion.'

---

FEL yr oedd person plwyf, yr hwn a arferai ddarllen ei bregeth bob gair yn wastad, yn dybenu un tro, efe a ddygwyddodd ddweyd, 'Ni chwanegaf yn awr,' pryd yr atebwyd ef gan hen chwaer oedd mewn eisteddle gyfagos, yr hon a ddywedai yn eithaf uchel, 'Oblegyd fedrwch chwi ddim.'

---

TEIMLAI dyn o'r wlad unwaith pan yn myned heibio i swyddfa marsiandwr yn Llan——, awydd gwthio ei ben i mewn i edrych beth oedd yn myned yn mlaen yno. Ar ol agor y drws canfyddai yno lencyn o ysgrifenydd, a neb ond efe. 'Beth ydych chwi yn werthu yma?' gofynai y gwladwr. 'Penbyliaid,' oedd yr ateb. 'Wel,' ebe yntau, 'rhaid fod yma werthu da wedi bod, pan welir nad oes ond un yn unig wedi ei adael ar ol.'

---

AETH boneddwr yn ddiweddar i swyddfa cyfreithiwr, lle yr oedd aelwydaid anghyffredin o dân. 'Y dyn (ebai efe wrth y cyfreithiwr), mae eich swyddfa mor boeth â ffwrn.' 'Hi ddylai fod, (ebai y cyfreithiwr), canys dyma lle yr wyf fi yn gwneyd fy mara.'

---

YR oedd crach-foneddwr unwaith yn bostio ei fod yn ddysgynydd o deulu uchel. 'Ydwyt,' meddai dyn oedd yn sefyll yn ymyl, 'yr wyf wedi gweled rhai o'r teulu mor uchel fel nas gallai eu traed gyffwrdd â'r llawr,' gan arwyddo eu bod wedi diweddu eu hoes ar y crogbren.

---

Y FONEDDIGES YN SYMUD EI THRWYN.—'Yn mha

le, yn enw pob synwyr, y gellais gael y fath drwyn â hwn, Doctor?' 'Allan o'r gostrel, Madam.'

---

BACHGEN CYFLYM.—Dywedai gwr boneddig wrth graffu ar fachgenyn cyflym ei atebion, 'Pan fyddo plant yn gyflym eu hatebion yn ieuanc, y maent yn myned yn fwy hurt wrth fyned yn hen.' 'Y fath fachgen cyflym oeddych chwi ynte pan yn ieuanc,' oedd yr atebiad.

---

Y LLES O BRIODI.—Cyfarfyddodd boneddiges â dynes ieuanc ag a fuasai unwaith yn ei gwasanaeth, a gofynodd iddi, 'Pa le yr ydych yn byw yn awr, Mari?' 'Rhynged bodd i chwi, Madam,' ebe hithau, 'nid wyf yn byw yn unlle yn awr, yr wyf wedi priodi!'

---

ODDEUTU triugain mlynedd yn ol, Almanaciau oeddynt brif gyfryngau gwybodaeth y Cymro yn ei iaith ei hun. Argreffid y rhai hyn gan mwyaf yn Nghroesoswallt ac Amwythig. Yr oedd Sion Tudur o Lanelwy, yn llawn mor adnabyddus fel almanacwr ag ydoedd fel bardd. Ond un tro bu yn agos i un bachgenyn ladd ei almanaciaeth yn farw gelain. Ar foreu tesog wybren glir yn nghanol haf, yr oedd Sion yn rhodio ffordd gerllaw ei dŷ, a daeth i'w gyfarfod yr hogyn dywededig, a chanddo wlawlen fawr tan ei fraich. 'I beth 'rwyt ti'n cario y wlawlen fawr yna ar fore mor braf â hwn?' ebai'r almanacwr. 'Am fod Almanac Sion Tudur yn dweyd mai diwrnod braf a gawn ni heddyw, ac felly y mae hi yn sicr o wlawio cyn nos,' a ffwrdd a'r bychan pert i'w daith gan adael Sion i syn gilgnoi ai damaid chwerw.

---

AETH carwriaeth rhwng dyn o faintioli bychan â dynes o daldra rhyfeddol, a dywedodd rhyw un ei fod wedi syrthio mewn cariad. 'A ydych yn ei alw syrthio mewn cariad,' atebai hen lanc, 'y mae'n llawer tebycach i ddringo ato.'

DERBYNIODD y cerddor R—— wahoddiad i giniawa gyda phendefiges, yr hon oedd ddiareb am ei chynildeb. Nid oedd y giniaw iddo yntau yn wahanol i'r rhai arferol, ac aeth oddiwrth y bwrdd ag eisieu bwyd arno. 'Gobeithiaf yr anrhydeddwch fi yn fuan eto drwy ddyfod ataf i giniawa,' ebai y bendefiges wrtho pan oedd efe yn min ymadael. 'Yn union-deg, os dewiswch,' oedd yr atebiad.

---

CYMERIAD I WERTHU RUM.—Ychydig ddyddiau yn ol, fel yr oedd Gwyddel yn ymofyn am drwydded i werthu gwirodydd poethion, gofynai Bwrdd y Gellidaeth iddo pa beth oedd ei gymwysder moesol i afael yn y fath swydd? 'A, yn siwr,' ebai yntau, 'nid oes eisieu fawr o gymwysder i werthu *rum*.'

---

DYN YN GOFYN Y FFORDD.—Gofynodd trafaeliwr i ddyn yn tori cerrig ar y ffordd am y ffordd i Aber——. Gofynai y torwr cerrig o ba le y daethai. Cynhyrfodd hyn y trafaeliwr, a dywedai, 'Pa waeth i chwi o ba le y daethum?' 'Na waeth i mi,' ebai y torwr cerrig, 'mwy nag i ba le yr eloch.'

---

Y TYWYDD.—Derbyniodd tyddynwr oedd yn cwyno rhag y tywydd, yn diweddar, yr ateb canlynol, 'O, ïe, Syr, yr ydym wedi cael addewid o bryd hau a phryd medi, ond ni addawyd i ni unrhyw fath o dywydd erioed.' Diflanodd y tyddynwr.

---

SERCHOGRWYDD MERCH IEUANC.—Yr oedd boneddiges unwaith yn gwrandaw ar offeiriad ieuanc yn pregethu, pryd y llyncwyd ei meddwl gymaint gan ei hyawdledd, fel yr ysgrifenodd lythyr ato i'r perwyl canlynol: 'Anwyl Syr,—Dyma fy llaw (mae fy nghalon genych yn barod), a'm cyfoeth, yr hwn sydd yn lled fawr, a dderbyniwch chwi. Ydwyf, &c., yr eiddoch, Anna.' Atebiad y gŵr ieuanc i'r foneddiges oedd hynod—'Rhowch eich llaw i ddiwydrwydd, eich cyfoeth i'r tylodion, a'ch calon i Dduw.'

DAU O'R UN FARN.—Nesaodd gweinidog at fachgenyn direidus, yn nghylch deuddeg oed, ac ymaflodd yn ei ysgwydd, gan ddywedyd, 'Fy machgen i, yr wyf yn credu fod y cythraul wedi cymeryd gafael ynoch.' 'Yr ydwyf finau yn credu hyny hefyd,' ebai y bachgen yn awgrymiadol.

---

BEIRNIADAETH AR BREGETH.—Cymerodd pregethwr yn destyn, 'Portha fy wyn,' a phregethodd bregeth fawr mewn arddull aruchel. Pan yn myned allan tarawodd wrth hen amaethwr, yr hwn a'i cyfarchodd yn y geiriau hyn, 'Chwi gymerasoch destyn da a phwrpasol, ond chwi ddodasoch y gwair mewn rhestl mor uchel nas gallai yr ŵyn ei gyrhaedd, na'r hen ddefaid ychwaith.'

---

YSGUBOR WAG.—Yr oedd dyn penfoel yn gwneyd gwawd o un cyffelyb iddo oedd yn gwisgo ffugwallt, ac fel ffraethair i derfynu ei wawd, efe a ddywedai, 'Chwi a welwch mor foel yw fy mhen i, ac ni byddaf byth yn gwisgo *wig.*' 'Gwir,' ebai y llall, 'ond nid oes dim eisiau tô ar 'scubor wag.'

---

GOFYNWYD unwaith i ffraethddyn paham na phriodai foneddiges, wrth yr hon yr oedd yn dra ymlynol. 'Ni wn i ddim,' meddai, 'os nad am fod genym ormod parch y naill at y llall.'

---

GORCHFYGODD Dr. L—— ar ol ymdrechfa galed i gario yr Etholiad dros ddinas B——; a chyfarfyddodd yn mhen ychydig ddyddiau ar ol hyn â boneddiges, teulu yr hon oedd yn dra brwdfrydig o blaid yr ymgeisydd gorchfygedig. 'Wel, Dr.,' meddai, 'yr wyf yn gweled eich bod wedi enill yr Etholiad.' 'Do, Madam.' 'Nid rhyfedd, Syr,' oedd yr atebiad, 'pleidleisiodd yr holl ddyhirod digymeriad o'ch plaid.' 'Naddo, Madam," meddai y Doctor, 'ni wnaeth eich dau fab chwi.'

CINIAW GWAEL.—'A ddarfu i chwi giniawa?' ebe y naill wrth y llall. 'Do,' oedd yr ateb. 'A ydych yn siwr?' 'Do ar fy ngwirionedd.' 'Ow, ow, os ar eich gwirionedd y buoch yn ciniawa, y mae arnaf ofn mai ciniaw go brin a gawsoch.'

---

BYDDAI Rhys Grythor weithiau yn marchogaeth. Ceffylau erchyll o deneuon fyddent ei geffylau, nes peri i lawer synu sut na holltasai yn ddau wrth eu marchogaeth. Anrhegion fyddent gan rhyw foneddig neu gilydd i Rhys, wedi iddynt dori eu gwynt, neu fod yn rhy hen i weithio. Ar un o'r bwystfilod hagr hyn, yr aeth efe un diwrnod i ffair Nefyn, a dodes ef mewn ystabal yn muarth rhyw dafarndy; yna aeth i rodio hyd y dref. Yn ei absenoldeb, daeth tri o grach-foneddwyr i'r buarth hwnw, hwythau hefyd ar feirch, y rhai a ddodwyd yn yr un ystabl â cheffyl Rhys, ar ba un yr edrychasant gyda gradd helaeth o syndod a digrifwch. 'Pwy bia'r *rhinoceros* hwn?' ebynt hwy wrth yr *hostler*. 'Rhys Grythor,' oedd yr ateb. Ac yna direidus gynllwynasant alanas ar y *rhinoceros*, chwedl hwythau. Torasant ymaith ei fwng, a blew ei gynffon, ei amrantau, a'i glustiau, nes peri i'r hwn oedd hyll gynt yn awr edrych yn saith hyllach, a mawr oedd eu digrifwch a'u llawenydd oblegid eu direidwaith. Yna aethant hwythau ymaith, a dychwelodd Rhys i'r ystabl. 'Holo!' ebai ef, 'pwy wnaeth yr anmharch hwn ar fy Ngharwenan?' (canys dyna'r enw ar ei farch bob amser er cof am farch yr enwog Arthur). 'Y boneddwyr biau y ceffylau hyn,' ebai'r *hostler*. 'Mi a wnaf o'r goreu â hwynt,' ebai ef ynddo ei hun; a chymeryd ei gyllell, a rhwygo safnau meirch y crach-foneddwyr a wnaeth Rhys. Ar hyn, hwythau a ddaethant yn ol, a dechreu edliw a gwatwar i Rhys ei farch anffurfiol a diolwg a wnaethant. 'Yn mh'le y cefaist ti yr hardd-beth hwn?' ebai un. ''Rwyt yn rhoi gormod o fwyar duon

iddo,' ebai'r ail. 'Y mae pobl Caer wedi myned a'i gig oddiarno i'w werthu yn lle cig eidion, a'i rawn i wneyd perwigau i'r merched,' ebai'r trydydd. Gwrandawai Rhys ar ei crasder gyda gwên gyfrwys nas gallasent hwy mo'i ddeall sut yn y byd. 'Wel, *mae* yn ddigrif, *mae* yn ysmala,' ebai tri ar unwaith. 'Ydyw,' ebai Rhys, 'mae'ch ceffylau chwi yna wedi rhwygo ei cegau wrth chwerthin am ei ben!'

---

DRO arall, Rhys mewn tafarndy bychan yn Môn, yn gofyn am lasaid o gwrw, a gwelai nad oedd nemawr ddim yn y gwydr o'i flaen ond dw'r. ''Rhoswch chwi,' ebai ef, gan gymeryd y gwydr i'w law, 'beth ydyw enw'r afon yna sy'n myn'd heibio'r tŷ hwn? Chofiwn i yn fy myw, ac y mae ar *flaen fy nhafod i* hefyd;' a chyda'r gair cymerth lwnc o'r ddiod. Bron na laddodd efe wr y tŷ gyda'r ergyd.

---

MYNED ALLAN.—'Y mae'r tân yn myned allan, Miss Siencyn.' 'Yr wyf yn gwybod hyny, Meistar Sianco, a phe byddech chwithau yn gall, chwi a ddylynech ei esiampl.'

---

TEIMLAI barnwr difarf unwaith anhoffder at dyst oedd o'i flaen yn cael ei holi, a dywedodd, 'Os yw eich cydwybod mor hir â'ch barf, y mae hŷd braf iddi.' 'Fy Arglwydd,' ebai y tyst, 'os wrth farfau yr ydych yn mesur cydwybodau, nid oes genych chwi gydwybod o fath yn y byd.'

---

"WEL, Dafydd," meddai ysgol-feistr wrth un o'i ysgolheigion (yr hwn oedd yn arferol o fod yn ddiweddar bob dydd), "beth ydyw y rheswm dy fod di yn olaf bob dydd yn d'od i'r ysgol?" "Wel," meddai y bach, "mae yn rhaid i rywun fod yn olaf." Chwarddodd y meistr."

DYCHWELODD ryw feddyg unwaith got i ddilledydd, o herwydd nad oedd yn ei ffitio, a rhyw ddydd pan welodd y dilledydd y meddyg yn nghladdedigaeth un o'i gleifion, efe a waeddodd, "O! Dr., yr ydych yn ddyn hapus iawn; carwn fod yr un fath â chwi yn fy nghalon." "Paham," meddai meddyg. "Wel," meddai y dilledydd, "canys nid ydyw eich gwaith drwg byth yn cael ei ddychwelyd i'ch dwylaw eilwaith." Aeth y meddyg i'w ffordd yn fud.

---

RHYW ddiwrnod, fel yr oedd dau fachgenyn yn chwareu o amgylch camlas ddofn, syrthiodd un o honynt ar ei ben i'r llaid; a'r llall, mewn dychryn, a redodd at ddyn oedd yn tori coed gerllaw, a dywedodd wrtho, 'O! O! O! O! deuwch, O! O! deuwch; mae John ni wedi cwympo i'r llaid hyd ei figyrnau.' 'O!' meddai y torwr coed, 'beth yw dy frys, machgen i? Oes dim perygl yn y byd, os nad aeth ond hyd ei figyrnau.' 'O! ïe, ïe,' meddai y bachgenyn ffraeth ei dafod, 'c—c—c—cofiwch mai ei b—b—ben sydd yn isaf.'

---

GOFYNAI athraw Ysgol Sul unwaith i'w ddosparth, "Wel, fy mhlant anwyl," meddai, "pa un o honoch a ddywed i mi yn mha le y llosgwyd yr Esgob Latimer?" Y plant gan edrych yn fud ar eu gilydd am amser; o'r diwedd, cododd un o'r canol, a gwaeddodd nes oedd yr holl ysgoldy yn diaspedain, "Yn tân, meistr."

---

YR oedd ysgol-feistr unwaith yn ceisio egluro *subtraction* i un o'i ddysgyblion, yr hwn oedd yn methu yn lân a'i ddeall. 'Gadewch,' meddai'r athraw, 'pe byddai eich tad yn cymeryd gwn efo fo, a gweled saith o frain ar ben coeden ac yn lladd pedair, pa sawl un fyddai ar ol?' 'Dim un,' oedd yr atebiad, 'oblegid aent i ffwrdd i gyd gan ofn.'

---

CWYNAI dyn ieuanc wrth ei gymydog ryw ddydd

Calan, o herwydd y ddyled drom oedd arno am gig. 'Yr wyf yn penderfynu na chaiff cig yr un cigydd i ddyfod i fy nhŷ y flwyddyn hon am un pris.' 'Dim y flwyddyn hon!' meddai'r cymydog, 'Paham nid yw y flwyddyn ond braidd dechreu?' 'Mae'n wir,' meddai y llall, 'ond yr wyf yn bwriadu talu arian parod am dano yn y dyfodol, ac yna fe fydd fy nghig fy hun, ac nid y cigydd.'

---

YN y flwyddyn 1871, yr oedd dau ddyn yn lladd gwair yn mhlith beddau'r Cemetery, Aberdar; ar yr un prydnawn aeth meddyg o'r lle gyda'i gyfeillion i'r fynwent, ac wedi edrych o amgylch ar y llwyni oedd yn cael ei gadael ar ol, dywedodd wrth un o'r dynion, 'Caleb, gwaith tylawd sydd gyda chwi yma.' 'O, Doctor,' oedd yr ateb, 'y mae gyda chwithau waith tylawd yma hefyd.'

---

YR oedd dau ddilledydd yn gweithio mewn ffermdy. Un boreu ar amser penodol galwodd gwraig y tŷ hwynt i gael eu boreufwyd, pryd y gosodwyd pwys cyfan o ymenyn o'u blaenau. Wedi dechreu bwyta, sylwodd gwraig y tŷ fod y ddau yn tori'r ymenyn un o bob pen i'r pwys. Ar hyn dywedodd wrth yr henaf o honynt, byddwch cystal a thori'r ymenyn o un pen, ac yna bydd y gweddill yn edrych yn well i'w osod ar y bwrdd y tro nesaf. Na feindiwch meddai un o honynt, awn i gwrdd a'n gilydd yn y man.

---

ACHOS AC EFFAITH.—Hen foneddiges ag a fyddai yn aml yn cael ei blino gan freuddwydion, ac heblaw hyny yn lled ofergoelus, a hysbysodd i offeiriad ei phlwyf ddarfod iddi y noswaith flaenorol freuddwydio gweled ei thaid, yr hwn oedd wedi marw er's llawer o flynyddau. Gofynodd yr offeiriad pa beth oedd wedi ei fwyta. "O, dim ond haner dysglaid o fân bastai." "Wel," meddai yntau, "pe buasech wedi difa yr oll o honi, y mae'n dra thebygol y gallasech hefyd weled eich nain."

"DOWCH yma y gwalch bychan, a rhowch gyfrif o honoch eich hun. Yn mha le y buoch chwi?" "Ar ol y genethod, nhad." "A wyddoch chwi i mi erioed wneyd felly pan oeddwn yn fachgen?" "Na wn, ond y mae fy mam yn gwybod."

---

GWR DA.—Gwraig briod dlawd a gyfarchodd foneddiges sengl, ychydig o'r tu chwith i 50, yn nghylch ei thrallodion cartrefol, y rhai gan mwyaf a dadogodd ar ei gwr oblegid ei afreolaeth. "Wel," ebe yr hen ferch, "tynasoch y trallodion hyn arnoch eich hun: perais i chwi beidio a'i briodi ef. Yr oeddwn yn sicr na wnai efe wr da i chwi." "Nid yw efe yn un da, mae'n wir, Madam," ebe y wraig briod, "ond mae efe yn llawer gwell na bod heb yr un."

---

CERYDD I HYFDRÁ.—Mewn cyfarfod o weinidogion, un tro, cychwynwyd dadl ar bwnc yn eu plith, ac yn ddioed dyma ryw ddyn ieuanc hyf ag oedd yn bresenol yn siarad ar draws pawb, ac yn dyweyd, "Yn wir, fel ar fel yr wyf fi yn ei *ddal*," gan gyfeirio at y pwnc; ar hyn dyma y duwiol a'r addfwyn y Parch. Phylip Henry yn ei atal, gan ddyweyd, "Y chwi yn *dal*, Syr! y mae yn gweddu i chwi *ddal* eich tafod."

---

BARDD Nantglyn, un tro, yn Ninbych, a boenid gan un Thomas Llwyd, o eisiau englyn ganddo. Holl ymddiddan Llwyd fyddai yn nghylch y pryd yr oedd gyda milwyr Syr Watcyn yn Iwerddon, ac ymhyfrydai yn fawr mewn darlunio y creulonderau a ymarferai tuag at deuluoedd y Gwyddelod gwrthryfelgar. "Gwnewch englyn i mi Robert am fy ngwroldeb," meddai. Ar hyn, atebodd y bardd,—

"Byd sych, yn fynych heb fwyd—na dillad
Deallwch, rhag anwyd;
Heb dŷ, gwely, nac aelwyd—
Dyma yw lle'r hen Dwm Llwyd."

PAHAM y dylai boneddigesau ieuainc roddi esiamplau da? O herwydd fod dynion ieuainc yn dueddol iawn i'w dilyn.

---

PAN oedd llywodraeth Lloegr yn dirwyo ac yn carcharu am werthu gweithiau Twm Paine, yr oedd Iolo Morganwg yn cadw siop fechan, lle y gwerthai ambell lyfryn. Swyddog gwladol wrth fyned heibio un diwrnod a lygadodd ar y ffenestr, a dysgynodd ei lygaid yn chwap ar *Hawlion Dyn*—un o lyfrau yr anffyddiwr—mewn congl o'r neilldu. Aeth i mewn; 'Beth yw pris Hawlion Dyn,' ebai wrth Iolo. 'Pum' swllt,' atebai y bardd yn ddigynhwrf. 'Estynwch ef i mi,' ebe y swyddog, gan daflu yr arian ar y bwrdd. Wedi myned allan o'r siop, agorodd y llyfr er mwyn bod yn sicr, ac er ei fawr syndod, canfu mai copi o'r Beibl a gawsai! Aeth yn ol yn uniongyrchol, a dywedodd wrth Iolo nad oedd wedi estyn iddo y llyfr iawn. 'O, do, gyfaill,' meddai y bardd, 'dyna yr unig lyfr sydd yn cynwys gwir hawlion dyn.'

---

BONEDDIGES unwaith a ddygodd gyfansoddiad o'i heiddo at fardd, a gofynodd ei farn arno, gan ychwanegu fod ganddi ragor o heiyrn yn tân. Wedi ei ddarllen, dychwelodd ef iddi, gan ddweyd yn oeraidd, 'Madam, yr wyf yn eich cynghori i roddi hwn yn yr un man â'r heiyrn.'

---

YN yr hen amser gynt, pan oedd y teilwriaid yn anhawdd eu cael, yr oedd hen wraig yn byw mewn bwthyn, ar ochr bryn, yn Sir Gaernarfon, yr hon oedd er's llawer o amser yn methu yn lân a chael gan y teiliwr dd'od yno. Ond o'r diwedd daeth y teiliwr. Yr hen wraig yn llawn digrifwch, a ddywedodd wrtho cyn gynted ag y daeth i'r tŷ, 'Dau olwg sydd i'w cael ar deilwriaid, a dyma nhw:—Y mae yn dda eu gweled yn dyfod, ac yn well nâ hyny eu gweled yn myned

ymaith.' 'Wel,' ebe'r teiliwr, 'cewch weled y ddau ar unwaith,' ac ymaith ag ef, ac ni welodd yr hen wreigan mo hono mwy.

---

DYWEDODD cyfaill unwaith wrth weinidog, gan yr hwn yr oedd nifer luosog o blant, 'Syr, y mae genych agos cynifer o blant â'r hen batriarch Jacob.' 'Gwir,' meddai, 'ac y mae genyf Dduw Jacob hefyd i ofalu am danynt.'

---

PAN oedd yr enwog Gwallter Mechain, yn myned un tro dros ben bont ganddryll, fraenedig, a diganllaw, rhwng Llanrhaiadr a Llanarmon-fach, dywedodd,—

"Gwenwynllyd yw pont heb ganllaw,
'E wel y bardd wely baw!"

---

GWR boneddig o Sir Benfro, wedi iddo adeiladu palas, oedd mewn trafferth yn nghylch beth oedd i wneyd i'r ysgarthion. Llencyn ag oedd yn sefyll yno a'i cynghorodd i fynu cloddio pwll i'w roddi. 'A pha beth a wnaf i'r pridd a godir o'r pwll?' ebe'r gwr boneddig gan chwerthin. I'r hyn yr atebodd y llencyn, 'Gwnewch ef yn ddigon mawr i gynwys y cwbl.'

---

AMSER yn ol yr oedd y Parch. R. Bonner yn dangos y capel yn Prestatyn, yr hwn nid yw wedi ei blanio yr un fath a phob capel, i'r Parch. Griffith Hughes; dywedai yr olaf, 'Mr. Bonner, ni byddai ddim yn bechod addoli yn y capel hwn, canys nid yw yn debyg i ddim yn y nefoedd uchod, nac yn y ddaear isod.'

---

CYNYG TEG.—Oddeutu yr amser y dechreuodd yr ysgogiad dirwestol, hen ffermwr yn Sir Drefaldwyn a feddyliodd am wneyd ei oreu i gael ei weision i ymatal rhag yfed y ddiod feddwol. Wrth gyflogi gwas, efe a ofynodd iddo, beth a gymerai, yn ychwanegol at ei gyflog, am arwyddo yr ardystiad dirwestol. Y gwas a ddywedodd nad oedd o bwys ganddo pa beth—y

gallai y ffermwr nodi y peth a fynai. Yr hen ddyn ar hyny a ddywedai, 'Mi a roddaf i ti ddafad os bydd i ti lwyr-ymwrthod ar hyd y tymhor.' Ei fab hynaf a ofynodd iddo, 'Fy nhad, a gaf finau ddafad?' 'Cei, fy machgen,' atebai yr hen wr, 'os byddi yn llwyr-ymwrthodwr.' Ei fab ieuengaf, yr hwn hefyd oedd yn bresenol, a ofynodd, 'Fy nhad, a gaf finau ddafad?' 'Cei, Siencyn,' ebai yr hen wr, ar ol synfyfyrio am fynyd, 'cei dithau ddafad am fod yn ddirwestwr.' 'Ac O! fy nhad,' meddai Siencyn, 'oni fyddai yn well i chwithau hefyd gymeryd dafad?'

---

GWEINIDOG, wrth ddychwelyd o'i eglwys un bore Sul, yn nghwmni un o'i wrandawyr, a ddywedodd, 'Wel, Thomas, ar ol yr ymddiddan a fu rhyngom yr wythnos ddiweddaf, gobeithio eich bod wedi eich argyhoeddi o'r pechadurusrwydd o agor llythyrau ar ddydd yr Arglwydd.' 'Ydwyf yn siwr, Syr,' meddai Thomas. 'Ond gyda llaw,' ebai'r gweinidog, 'beth oeddych chwi yn ei feddwl o'm pregeth y bore heddyw ar gyflawniad dyledswyddau crefyddol?' 'Wel, yn wir, Syr,' meddai Thomas, yn araf deg, yr oedd y llythyr-gludydd wedi dyfod â llythyr i'r tŷ pan oeddwn ar fin cychwyn i'r eglwys, ac nis gellais dalu y sylw lleiaf i'r gwasanaeth na'r bregeth, gan feddwl beth a allai fod yn y llythyr.' Aeth y gweinidog yn fud.

---

FEL yr oedd Tegid, rai blynyddoedd yn ol, yn teithio ar ddiwrnod gorddrycinog, a phan ddaeth un o bobl y tŷ i'w groesawu, gan sylwi ei fod wedi cael gwlaw trwm a ffordd fudr, atebai fel hyn,—

> "Y mae gwlaw a baw'n y byd—yn fynych
> A finau'n o wanllyd,
> Dyogel gwelwch Degid,
> Er ei gân yn ddw'r i gyd."

---

AETH bardd unwaith i dŷ tafarn, yn yr hwn le yr oedd hen wraig gyda dwy ffon. Gofynodd yr hen

wraig a wnai efe englyn iddi. Atebodd y bardd y gwnai os cai lasiad. Cafodd ei ddymuniad. Wedi yfed ei lasiad, dywedodd fel hyn,—

"Os â Megen lawen lon—i'r nefoedd,
Hi 'nafa angelion :
Os i uffern yr â'r ddwy-ffon,
Y diawl a ffy os deil y ffon."

---

TREULIODD Dic Aberdaron ei oes heb wneyd ond y nesaf peth i ddim at ei gynaliaeth, fel y cydnabyddodd unwaith yn un o'i ffraeth atebion i ryw weinidog a ofynodd iddo, Beth a feddyliau am ysgrifeniadau Paul. 'Ho,' meddai, 'gwneyd 'pistols oedd gwaith yr apostol—gwnaeth ddau i saethu y Corinthiaid, ac yr oedd y rhai hyny yn *ganons* mawr yn yr eglwys, a gwnaeth un i fy saethu inau hefyd.' 'Pa beth oedd hwnw, Richard?' ebai'r gweinidog. 'Os byddai neb na fynai weithio, na chai fwyta chwaith,' atebai Richard.

---

'YR wyf mewn pryd erbyn ciniaw, os yw y clociau yn cyfateb i'w gilydd.' 'Pa fodd,' atebai cyfaill, 'y gallant gyfateb i'w gilydd, gan eu bod yn wastad yn taro?'

---

MEWN prawf yn ddiweddar yr oedd torwr beddau yn un o'r tystion yn y llys. 'Wel,' ebe y dadleuydd, 'yr oeddwn i'n meddwl mai eich dyledswydd chwi ydoedd *claddu* pobl ac nid eu *priodi*.' 'Sicr iawn,' ebe y torwr beddau, 'ond rhaid i ni gael poblogaeth cyn y gallwn eu claddu.'

---

BEIAI rhyw un Dr. M——— am newid ei feddwl. 'Wel,' meddai yntau, 'dyma lle mae y gwahaniaeth rhwng dyn a mul—nis gall mul newid ei feddwl, ond fe all dyn. Braint ddynol ydyw.'

AETH Twm o'r Nant rhyw dro, pan yn byw yn Nghaerfyrddin, ar ryw neges i Lanymddyfri, a chafodd ar y mwyaf o wirod yno, ac wrth ddychwelyd adref, syrthiodd i'r ffos; gofynodd rhywun wrth fyned heibio, sut y daeth yno, i'r hyn yr atebodd,—

"Y *brandy* coch godymodd gant,
Rhoes godwm teg i Dwm o'r Nant.

---

YR hen Owain Gruffydd y bardd, yn Nhŷ'r Llan, Llanystumdwy, wedi ei myned yn nos, a'r hîn yn oer, a ofynai am letŷ. Gwraig y tŷ a atebai, 'Nad oedd yno le cyfleus y noswaith hono, onid a'i gyda'r gwas i gysgu.' 'Na, chaiff o ddim dyfod hefo mi i gysgu,' ebai'r gwas. Yna y bardd a atebodd y gwas yn ei awen ffraeth arferol, gan ddywedyd yn ngwydd y cwmni,—

"Gerbron y dynion dawnus—ein deuoedd,
Ni dynwn ein deugrys,
A cheiniog wen ar ben bys,
Fod mwy o l——— yn dy lewys."

---

DRO arall yr oedd y bardd yn dyfod o Roslan i Lanystumdwy, ac erbyn hyn wedi colli ei olwg, a bachgen o ŵyr iddo yn ei arwain. Canfyddai y bachgen yn dyfod i'w cyfarfod hen wr tâl, teneu, a elwid gan y cyffredin *Angau Llanllyfni,* a gwaeddai, 'Nhaid, nhaid, mae Angau Llanllyfni yn dyfod.' Ar hyn atebai Owain Gruffydd, wel,

"Yn enw Duw os angau wyt
O tŷn dy rwyd i'r adwy,
A gollwng heibio gorffyn gwan
Nes d'od hyd Lanystumdwy."

---

TWM Sion Cati, pan oedd yn ieuanc, oedd yn chwanog iawn i orwedd yn hir yn y gwely yn y boreuau; hyn a barodd i'w dad ei geryddu yn galed am ei ddiogi, ac edliw iddo ei fawr segurdod, ac a ddanododd fod un bachgenyn wedi cael deg gini ar y

ffordd trwy godi yn fore. 'Pw, pw,' ebe Twm, 'nid enillwr sydd yn codi foreuaf; yr wyf yn siwr fod y colledwr wedi codi yn foreuach nag ef, onide ni fuasai dim modd i enillwr fod.'

---

'BETH Wil!' meddai hen lanc unwaith wrth was fferm, 'a wyt ti yn myned i briodi!' 'Yr wyf yn meddwl hyny,' meddai Wil. 'Beth sydd genyt ti at gadw gwraig, dywed?' 'Mentro ar y drefn fawr,' ebe Wil. 'Ië, dyna hi, y creaduriaid: priodi a chael lot o blant, a'r drefn fawr yw myned ar y plwyf.'

---

DYGWYDDAI Twm o'r Nant fod rhyw dro mewn parlwr tŷ tafarn, yr hwn oedd yn llawn o fasnachwyr parchus, a chyfansoddai englyn i bob un o honynt yn ddiatreg. Ond yr oedd un yn eu plith wedi ei hebgor, swydd yr hwn ydoedd baili, a phan ganfyddodd nad oedd efe yn cael yr un fraint â'r lleill, ebai ef, 'Gwnewch englyn o glod i minau, Thomas.' Atebai,—

"Heriwr a bwliwr yw'r baili,—labrwr
Hyd lwybrau trueni;
Aeth ganwaith, do, werth gini,
Dew ful dwl i dy fol di."

---

Y DYDD YN TORI.—Fel yr oedd marsiandwr yn lletya mewn gwesty unwaith, dygwyddodd un o'r gweision, drwy gamgymeriad alw arno i godi yn rhy foreu. 'Syr,' ebe fe, 'mae y dydd yn tori.' 'Gadewch iddi dori,' ebe yr ymdeithydd swrth, 'nid oes arno ddim dyled i mi.'

---

YR oedd merch ieuanc unwaith yn bur awyddus am briodi, ond yr oedd y bachgen braidd yn feddylgar, ac yn dyweyd, 'Mae llawer o bethau yn angenrheidiol at gadw tŷ—rhaid cael *sebon*, a *blue*, a *starch.*' 'Yr wyf yn meddwl,' ebe y ferch, 'y byddai yn well i ni fyned at y tân.' Cychwynasant, a phan ar ben y grisiau rhoddodd wth iddo dros y grisiau. 'Beth sydd yna?' ebe gwr y tŷ. 'O, dim,' ebe hithau, 'ond

gofidiau y byd presenol—y sebon, a'r blue, a'r starch yn myned dros y grisiau; na hidwch mo honynt.'

---

DIM OFN YN Y CERBYD TAN.—Yr oedd dau fachgenyn bach yn ymddyddan â'u gilydd am Elias yn esgyn i'r nefoedd yn y cerbyd tanllyd, a meirch tanllyd yn ei dynu. Ebe Tomi yn ddifrifol wrth Willie, 'Ai ni byddai arnat ti ofn *ride* mewn cerbyd o fath hwnw?' 'Na fyddai dim un tipyn,' oedd yr ateb ffraeth, 'ond i fi gael yr Arglwydd i'm drifo.'

---

BYDDAI Dr. Phillips, Neuaddlwyd, ar brydiau yn ffraeth-ffraeth (*very witty*). Cofus genyf am un tro yn amser diwygiad nerthol a fu yn y Neuaddlwyd yn 1822. Yr oedd yno ddynes ieuanc mewn hwyl neillduol yn adrodd y llinellau canlynol:—

"Blinais ar afonydd Babel,
Nid oes yno ond wylo i gyd," &c.

'Ho, (ebai yntau, yn ol ei arfer ffraeth a serchlawn) feallai y byddi ar ei glanau'n hir.'

---

BARA BEUNYDDIOL.—Yr oedd athrawes yn holi twr o blant, a gofynai, 'Paham yr ydym yn gofyn ein bara bob dydd, ac nid gofyn digon am dri neu bedwar diwrnod ar unwaith?' Atebodd geneth fechan, 'Am fod eisiau cael bara *fresh* bob dydd.'

---

ACHOS LLEFAIN.—Mewn ysgol yn ddiweddar, gwelid bachgen yn llefain (crio) yn chwerw; wedi holi yr achos, deallodd yr athraw ei fod wedi colli ei fam, a dywedai wrth y plant na wyddai neb o honynt pa mor galed oedd y golled hon i'w dwyn nes ei phrofi. Ond atebodd un bachgen gwyllt oedd gerllaw iddo, 'O, gadewch iddo aros nes cael llysfam, yna chwi gewch ei glywed yn llefain.'

PAN oedd Mr. Jones, Llundain, a boneddwr arall gydag ef, ar ymweliad â Llanberis, ac yn sefyll rhwng y ddau lŷn yno, daeth bachgen ffraeth atynt, oedd yn gallu siarad Saesonaeg yn dda, ac yn tybio mai Saeson oeddynt hwythau, i gynyg gwerthu ceryg bychain prydferth iddynt oddiar ben yr Wyddfa. Dywedodd Mr. Jones wrtho, yn Saesonaeg, 'Mae gwlad brydferth genych ffordd yma?' 'Oes, Syr,' meddai'r bachgen. 'Pwy wnaeth y mynyddoedd mawrion yma?' 'O, y bobl o gwmpas yma.' 'Hynod iawn; o ba le y cawsant ddefnyddiau atynt?' 'Eu cloddio i fyny wnaethant o'r llŷnau mawr yma,' oedd atebiad y bachgen. Yr oedd y chwarelwyr y tu arall i'r llŷn, ar y pryd hwnw, yn tywallt rhwbel i lawr i'r llŷn; ac ebai Mr. Jones, 'Nid yw y bobl y tu draw yn ymddangos o'r un farn â chwi; y maent hwy yn llenwi y llŷn.' Edrychai y llanc yn wgus arnynt, a dywedodd, 'Ydynt, y maent hwy o hyd yn taro yn ein herbyn, rywfodd.' Wedi hyn o ymddyddan yn Saesonaeg, dywedodd Mr. Jones, yn Gymraeg, 'Hogyn direidus arswydol wyt ti!' Neidiodd y bachgen mewn syndod, a dywedodd, '*O dear!* yr oeddwn i yn credu mai Saeson oeddech; fe gred y Saeson bobpeth!'

---

CYHOEDDI.—Yr oedd y diweddar Lewis Powell, Caerdydd, mewn lle pell oddicartref yn pregethu, pan ar ddiwedd yr oedfa y synwyd ef yn fawr wrth glywed cynifer yn cyhoeddi cyfarfodydd gweddi. Cododd un yn y sêt fawr, a chyhoeddodd gyfarfod gweddi un noswaith yn Tŷ'n-y-pant. Cododd un arall yn nghanol y capel, a chyhoeddodd gyfarfod gweddi nos arall yn Pentwyn, ac un arall mewn man arall. Ac wedi iddynt oll orphen, dywedodd yntau o'r pwlpud, 'Mae cyfarfod gweddi nos Iau yn Nghaerdydd.'

---

GWERTH GWRAIG.—Y dydd o'r blaen cwympodd boneddiges i'r afon, a llwyddodd bachgen tylawd i'w hachub. Pan gafwyd hi i'r lan yn ddyogel, estynodd

ei gwr *swllt* i'r bachgen dewr. Ar waith rhai o'r edrychwyr yn dangos anfoddlonrwydd yn ngwyneb crintachrwydd ei phriod, dywedai y bachgen, tra yn rhoddi y swllt yn ei logell, 'Peidiwch a beio y bonedd-wr—*efe* a ŵyr oreu beth yw ei gwerth: efallai pe buaswn *heb* ei hachub, y buasai yn rhoddi *sofren* i mi.'

---

GWYBOD Y MANYLION.—Pan oedd fferyllydd enwog yn rhoddi ei dystiolaeth mewn llys, mewn achos o wenwyno, gofynwyd iddo a wyddai efe faint o *arsenic* fyddai yn ddigon i ladd gwybedyn? 'Bid siwr y gwn,' oedd yr ateb, 'ond y mae yn rhaid i mi yn gyntaf gael oedran y gwybedyn, ei rywogaeth, a'i ddull gyffredinol o fyw, ymarferiadau ei gorff—pa un ai gweddw ai priod, gwraig weddw neu wyryf, gwr gweddw neu hen lanc ydyw; pan y caffwyf y manylion hyn, gallaf ateb eich gofyniad.'

---

AETH gwr boneddig i dŷ Gwyddel, a synai yn aruthrol fod yr hen fachgen yn cadw y mochyn i fwyta ac i gysgu yn y tŷ. 'Sut yr ydych yn gadael i'r mochyn fod yma?' meddai. 'Wel,' atebai'r Gwyddel, 'ganddo ef y mae'r hawl fwyaf i fod yma, canys y fo sydd yn talu y rhent.'

---

'PA sut y daeth y fath saim ar hyd y ffwrn?' ebai meistress ofalus wrth ei morwyn o bob gwaith. 'Y canwyllau,' ebai yr eneth, 'a syrthiasant i'r dwfr, a minau a'u dodes yn y ffwrn i sychu.'

---

TOMMY A'I PHYSIG.—'Hwde Tommy,' ebai y fam, 'dyma i ti *castor oil* hyfryd gydag *orange ice* ynddo.' Y meddyg: 'Cofiwch chwi, yn awr, am beidio rhoddi y cwbl i Tommy, cedwch ran i mi.' Ebai Tommy, 'Mam, y mae y Doctor yn ddyn hyfryd iawn, rhowch y cwbl i'r Doctor.'

GOFYNWYD i forwr oedd wedi dianc o long-ddrylliad, gan foneddiges, pa fodd yr oedd efe yn teimlo pan oedd y tònau yn golchi drosto. 'Gwlyb, meistres—pur wlyb.'

---

RHESWM DROS BRIODI.—Geneth wedi blino ar fod yn unig, a gyfarchodd ei chariad, un tro, fel hyn:—'Anwyl John, tyred rhag blaen, os ydwyt am ddyfod o gwbl; y mae Ned o'r Ddol yn honi fod yn rhaid i mi ei gymeryd ef, ac y mae yn fy nghusanu mor aml, fel nad allaf ddal fawr hwy.'

---

'WEL, Wmffra,' ebe meistr wrth un o'i denantiaid, y dydd o'r blaen, 'wyt ti yn credu fod pobl yn byw yn y lleuad, fel y maent yn dywedyd?' 'Nac ydwyf yn wir, meistr, achos i ba le y mae nhw yn myn'd pan y mae y lleuad yn fain.'

---

ACHOS AC EFFAITH.—Yr oedd Dr.——, o E——, yn ddyn galluog a pharod iawn, ond efe a gyfarfu a'i gystadlydd un tro. Tra yr oedd yn holi myfyriwr am y dosparthiadau yr oedd wedi bod ynddynt, efe a ddywedai, 'A chwi fuoch yn nosparth mesuroniaeth, ai do?' 'Do.' 'Pa sawl ochr sydd i gylch?' 'Dwy.' 'Pa rai ydynt?' 'Yr ochr fewnol a'r ochr allanol,' ebai y myfyriwr yn nghanol chwerthiniad uchel y gwrandawyr. Gofynai y Dr. yn nesaf, 'A fuoch chwi yn nosparth athrawiaeth foesol hefyd?' 'Do.' 'Wel, chwi a glywsoch ddarlithiau ar amryw bynciau. A glywsoch chwi un ar achos ac effaith?' 'Do.' 'A ydyw yr effaith byth yn myned o flaen yr achos?' 'Ydyw weithiau.' 'Rhoddwch enghraifft.' 'Dyn yn gyru berfa olwyn,' ebai y myfyriwr; ac eisteddodd y Dr. i lawr wedi ei orchfygu, ac ni flinodd efe y myfyriwr â'i ofyniadau mwyach.

---

W. M. EVANS A'I FAB, ARGRAFFWYR, CAERFYRDDIN.

# LLYFRAU

# Gwerth eu Darllen

**Cyhoeddedig gan**

**W. M. Evans & Son** **"Seren Cymru" Office Carmarthen.**

**Y Bardd,** neu y Meudwy Cymreig: yn cynnwys Teithiau Difyr ac Addysgiadol y Bardd gyda Rhagluniaeth. Gan W. E. Jones (Cawrdaf). Cyhoeddedig am 2s. 6c., pris gostyngol mewn llian 1s. 6c.

**Carolau Owen Llyfnwy** sef 19 o Garolau Nadolig a'r Pasg, ar amryw fesurau, gan y bardd awenber Robt. Ellis. Pris 6c

**Gweithiau Flavius Josephus,** yn cynnwys Hynafiaethau yr Iuddewon, yn nghyd a hanes eu Rhyfeloedd hyd ddinstr Jerusalem; traethawd Josephus ar Hades, mewn atebiad i'r Groegiaid; ac amddiffyniad Josephus i hynafiaethau yr Iuddewon, yn erbyn Apion; yn nghyd ag amddiffyniad i dystiolaethau Josephus, o berthynas i Iesu Grist, Ioan Fedyddiwr, ac Iago y Cyfiawn. Cyfieithiedig o'r Groeg a'r Hebraeg, yn nghyda nodiadau eglurhaol, hanesyddol, bywgraffol, beirniadol, a daearyddol; testynau cyfeiriol o'r Ysgrythyrau, ac Amseryddiaeth cywir yr amrywiol hanesion. Gan William Whiston, M.A. At yr hyn yr ychwanegwyd, Parhad o hanes yr Iuddewon hyd y dydd hwn, gan Dr. Bradshaw a'r Parch John Mills, Llundain. Pris Gostyngol llian 11s., Croen Llo 15s.

**Swper yr Arglwydd** yn ol y Testament Newydd, gan Mathetes. Pris 6ch.

**Llyfr y Cyfarwyddiadau,** neu Llyfr Pawb ar bob peth. Cyhoeddedig am 1s. 6c. Pris Gostyngol, mewn llian 1s.

---

☞ Dymuna W. M. Evans & Son, alw sylw neillduol Arolygwyr ac Athrawon Ysgolion Sabbothol y Bedyddwyr at y Gyfres o Lyfrau (9 mewn nifer) o dan yr enw **"CORONAU,"** sef Cyfres o Lyfrau Gwobrwyon, **6c. yr un,** at Wasanaeth Ysgolion Sabbothol, Cyfarfodydd Llenyddol, Bands of Hope, &c. Yn cynnwys Cronfa o Wybodaeth fuddiol a dyddorol i ddarllenwyr yn gyffredinol.

**1. Coron Llafur. 2. Coron Diwydrwydd. 3. Coron Gwroldeb. 4. Coron Anrhydedd. 5. Coron Goruchafiaeth. 6. Coron Werthfawr. 7. Coron Buddugoliaeth. 8. Coron Sobrwydd. 9. Coron Ddisglaer.**

Yr oll wedi eu rhwymo yn ddestlus. Pris 6c yr un. Telerau neillduol i Ysgolion Sabbothol am nifer o gopiau. Ceir manylion llawn ar ymofyniad.

*Cyfres o Lyfrau Newydd i Ffermwyr ac ereill.*

**Ffordd Newydd i Ddofi Ceffylau Gwylltion** a Chastiog, a'u trin ar ol eu dofi. (Gwerth Deg Gini am Chwecheiniog.) Pris 6ch

**Llyfr Doctor at y Ceffyl,** yn cynnwys Sylwadau ar yr Anhwylderau ag y mae Ceffylau yn agored iddynt; Dysgrifiad o'r arwyddion o honynt; a'r Cyfarwyddiadau Meddygol Mwyaf Effeithiol i'w Gwella. Wedi eu dethol o Weithiau yr Awduron goreu. Pris 6c

**Llyfr Doctor at Ddefaid a Wyn,** at yr hyn yr ychwanegwyd Cyfarwyddiadau at drin y Mamogiaid a'r Wyn. Pris 6c.

**Cyfarwyddiadau** at fagu a phesgi FFOWLS neu Ddof-adar, yn cynnwys Cywion Geir, Twrciod, Gwyddau, Hwyaid, &c., yn nghyd a'r moddion i wneyd yr Elw mwyaf wrth eu cadw. Pris 6ch.

**Llyfr Doctor at Wartheg a Lloi,** yn cynnwys Sylwadau ar yr Anhwylderau y mae Da Corniog yn agored iddynt; dysgrifiad o'r arwyddion o honynt; a'r Cyfarwyddiadau Meddygol mwyaf effeithiol i'w gwella At yr hyn yr ychwanegwyd, Cyfarwyddiadau at ryddhau y Llo. Pris 6c

—:—

**Casgliad Dewisol o Hen Donau Cymreig** (WELSH AIRS). Cynwysa dros 50 o'r Hen Alawon mwyaf dewisol at y Piano-forte, Harpe Harpsichord, Violin, Flute, &c. Cyhoeddedig am 1s. 6c.; Pris Gostyngol 6c.

**Crynodeb o Ramadeg Cymraeg,** yn nghyd a chyfarwyddiadau i Ddarllen yn briodol. Gan Tegai. Pris 6ch.

**Llyfr Llythyrau Cymraeg a Saesonaeg,** neu Sut i ysgrifenu Llythyr, yn cynnwys amrywiaeth o Lythyrau Teuluol, Cyfeillgarol, Carwriaethol a Masnachol, &c. &c. Pris 6ch.

**Esboniad** ar Epistol Paul at y Galatiaid, gan y Parch John Wesley, M.A. Cyfieithiedig o'r Saesneg. Pris 6ch.

**Caru, Priodi, a Byw,** gan y Parch Rhys Gwesyn Jones, D.D. Pris 6ch.

**Yr Ysgol Farddol.** Gan Dafydd Morganwg. Y Pedwerydd Argraffiad yn awr yn barod. Yn cynnwys Cyfarwyddiadau Eglur i ddeall Rheolau Gymraeg. "Dylai yr Ysgol Farddol gan Dafydd Morganwg fod yn llaw pob bardd ieuanc."—Hwfa Mon. Mewn llian destlus, llythyrenau aur, 2s., trwy'r post 2s. 2c

**"Hanes y Bedyddwyr yn Nghymru,"** gan J. Spinther James, M.A. Mewn Pedair Cyfrol, wedi eu rhwymo yn gryf mewn Llian, Llythyrenau Aur. &c., 29s. Cymeradwyaeth :—"Fedyddwyr Cymru, anrhegwch eich hunain yn ddiymaros a'r cyfrolau gwerthfawr hyn, cewch fyd o fwynhad, os oes ynoch fymryn o hoffder at lenyddiaeth a mymryn o ddyddordeb yn hanes eich henwad, wrth eu darllen."—Parch A. J. Parry, D.D.

**Geiriadur Ysgrythyrol,** gan y Parch W. Davies, D.D., Argraffiad Newydd wedi ei helaethu a'i ddiwygio, gan yr Awdwr. Wedi ei addurno â chant a deg o Ddarluniau eglurhaol, wyth o Fapiau Ysgrythyrol, a Phortread. Cyhoeddedig mewn Llian am 16s.; Pris Gostyngol 9s

**Y Dyddlyfr Ysgrythyrol,** neu 365 o Draethodau gan 365 o'r prif Dduwinyddion perthynol i bob enwad, ar y testynau canlynol :— Yr Ysgrythyrau, Duw, Dyn, Crist, Edifeirwch, Ffydd, Cyfiawnhad. Adenedigaeth, Yr Ysbryd Glân, Heddwch, Cariad, Sêl, Llawenydd, Gobaith, Amynedd, Addfwynder, Sancteiddhad, Moesoldeb, Gweddi, Mawl, Sacramentau, Crefydd Deuluaidd, Gwenidogion, Gwrandawyr, Cyfoeth a Thlawd, Temtasiynau, Cystuddiau, Angau, Barn, Uffern. Y Nef. O gasgliad Idrisyn. Pris mewn llian 1s 6c.

**Taith y Pererin,** Gan John Bunyan. Addurnedig â darluniau. Cyhoeddedig am 2s. 6c. Pris Gostyngol mewn llian, 1s. 6c.

**Trysorfa'r Athrawon,** gan ARFONWYSON, sef crynodeb o'r pethau mwyaf angenrheidiol eu gwybod er bod yn athraw defnyddiol yn yr Ysgol Sabbothol. Gyda Map Cymraeg o deithiau yr Apostol Paul. Pris mewn llian 1s. 6c.

**Esponiad ar Actau yr Apostolion,** gan y Parch John Wesley, M.A. Cyfieithiedig gan y Parch R. Hughes. Pris 1s

**Hanes Rhyfeddol D. L. Moody, a Sankey.** Yn cynnwys hefyd 15 o'u pregethau, a dyfyniadau o'u hannerchiadau,—574 o dudalenau. Mewn rhwymiad hardd, addurnedig â darluniau. Cyhoeddedig am 6s.; Pris Gostyngol 4s. 6c.

**Cofiant y Parch. Evan Thomas, Casnewydd,** Gyda nifer o'r Erthyglau Mwyaf Galluog a Ysgrifenodd, a Darlun Rhagorol o hono ar Acme Paper, gan y Parch W. Jones (Ap Rhys). Mewn llian hardd Cyhoddedig am 2s.; Pris Gostyngol 1s. 6c.

**Cofiant Dafydd Evans, Ffynonhenry,** Gan y diweddar Barch Benjamin Thomas (Myfyr Emlyn). "Y Cofiant mwyaf gwreiddiol, doniol, difrifol, digrifol, y mwyaf bywyd-debyg yn y Gymraeg." Mewn llian destlus 1s. 6c.; amlen 1s.

**Gwaith y Parchedig Evan Evans** (Ieuan Brydydd Hir). Golygiedig gan D. Silvan Evans, B.D. Cyhoeddedig am 3s. 6c.; Pris Gostyngol, mewn llian, 2s. 6c.

**Bywyd Enwogion,** yn cynnwys Breiniol Gofrestr; Hanes Owain Glyndwr; Hanes Bywyd Admiral Lord Nelson; Hanes Bywyd Napoleon Bonaparte; Hanes Bywyd Arthur Wellesley, Duc Wellington; Hanes Bywyd Dic Aberdaron a Thwm o'r Nant. Addurnedig â darluniau. Cyhoeddedig am 3s. 6c. Pris Gostyngol, llian 2s. 6c., amlen 2s.

**Cyfrol Werthfawr o Bregethau,** detholedig gan y diweddar Barch. W. Jones, Abergwaen. Pris 3s 6c mewn llian

**Cyfrol Werthfawr o Bregethau Detholedig,** gan y Diweddar Barch R. Hughes, Maesteg. Mewn llian 3s 6c.

**Detholion o Bregethau,** gan y diweddar Barch C. H. Spurgeon, gyda Chrybwyllion holaeth o fywyd Mr Spurgeon. Mewn llian 3s. 6c.

**Y Ffordd i'r Bywyd,** 21 o Bregethau yr anfarwol DR. GUTHRIE Cyhoeddedig am 2s. 6c. Pris Gostyngol 1s. 6c.

**Pregethau, Darlithiau, a Thraethodau.** Gan y Parch Rowland Hughes. Yn cynnwys 36 o bregethau, 5 o ddarlithiau, &c. Cyhoeddedig am 5s. 6c.; Pris Gostyngol mewn llian 3s. 6c.

**Barddoniaeth Cynddelw.** Dan olygiad IoanArfon. Hefyd TRAETHAWD ar fywyd ac Athrylith Cynddelw, gan J. Spinther James, M.A. Gyda darlun. Cyhoeddedig am 5s. 6c.; Pris Gostyngol. mewn llian, 3s.

**Teithiau a Barddoniaeth Robyn Ddu Eryri:** yn cynnwys hanes ei fywyd wedi ei ysgrifenu ganddo ef ei hun, yn mha un y gosodir allan ei deithiau yn Ewrop ac Amerig, yn nghyd a'r holl helyntion a'r dygwyddiadau a gyfarfu y dyn rhyfedd hwn yn ei oes; hefyd, ei GYFANSODDIADAU BARDDONOL. Addurnir y gyfrol hefyd â darluniau cywir o'r Awdwr, Gutyn Peris, Twm o'r Nant, Richard Llwyd, Lewis Morris, Thomas Pennant, ac Esgob Heber. Cyhoeddedig am 5s.; Pris Gostyngol 3s. 6c. mewn llian.

**Gweithiau Dewi Wyn o Eifion,** sef y BLODAU ARFON, &c., yn gyflawn fel yr oedd yn yr argraffiad cyntaf Hefyd. Cofnodion Helyntion ei Fywyd a'i Yrfa Faddonol gan Cynddelw gyda darlun hardd o'r Awdwr. Cyhoeddedig am 5s 6c.; Pris Gostyngol 3s. mewn llian.

**Pedwar-ar-hugain o Ddarluniau Ysgrythyrol,** wedi eu rwymo mewn llyfr. Cyhoeddedig am 1s. Pris Gostyngol. 6c.

**Uncle Tom's Cabin,** "F'ewythr Tomos," gan H. B. Stowe. Pris 6c.

## 6 O LYFRAU POBLOGAIDD Gan y Parch. D. Oliver Edwards.

Mewn amlen o Bapyr Cryf **1s.** yr un; wedi eu rhwymo mewn Llian Destlus **1s. 6c.** y Gyfrol.

**1. Y Gwenith Gwyn:** Amcenir i'r llyfr hwn fod at wasanaeth yr Ysgol Sabbothol a Chyfarfodydd Llenyddol.

**2. Yr Ardd Flodau.** Un o'r llyfrau goreu i adroddwyr, &c.

**3. Y Pren Afalau.** Llyfr yn cynwys Traethodau, Dadleuon, &c., at Wasanaeth yr Ysgol Sabbothol a'r Cyfarfodydd Blynyddol.

**4. Efail y Gof:** sef Ymddiddanion ar Brif Bynciau'r Dydd' Y Llyfr Poblogaidd.

**5. Y Blwch Difyrus.** Llyfr Newydd a phoblogaidd.

**6. Y Dadleuwr.** Yn Gynnwys Casgliad o Ddadleuou Digrif a Chrefyddol.

## Helbulon a Merthyr-iadau.

Yn cynnwys Hanes Ffrainc a'i helbulon, o'r Chwyldroad Mawr yn 1789 hyd gwymp Napoleon III. Hanes y Bastile a'r Greulonderau Erchyll a arferwyd at y rhai a garcharwyd yno. Gweithrediadau arswydus y Chwilys Pabaidd. Bywyd a Merthyrdod Ignatius, Esgob Antiochia, hefyd Cyprian, Esgob Carthage, a Chrysostom, Esgob Constantinople, yn nghyd a hanes ymweliad a Mynydd Etna, un o'r lloegfynyddau hynotaf yn y byd. Hanes Gwroiddiol y Brenin Llyr a'i dair merch; un o hen freninoedd Prydain, cymmeriad nodedig yn ngweithiau Shakespeare. Hanes Bachgen Tlawd a ddringodd trwy lafur a chymmeriad da i sefyllfa o urddas a chyfoeth. Pris 6ch.

—:—

## Nofelau a Hanesion am 5 o Ferched Hynod.

Yn cynnwys Hanes Prascovie, Arwres Siberia un o'r anturiaethau mwyaf rhamantus a chlodwiw ag sydd ar gof a chadw. Hanes Pamelia neu Ddiweirdeb yn cael ei wobrwyo. Hanes Bywyd hynod Mary Jemison, yr hon a gymmerwyd yn garcharor gan yr Indiaid pan yn 12 oed, ac a fu fyw yn eu plith am fwy nag wyth a thriugain o flynyddoedd. Hanes Mary Morley, merch y Gwestty, yr hon yn ddifwriad a fu yn foddion i ddwyn ei chariad i'r grogbren am lofruddiaeth. Hanes Joan o Arc, Morwynig Wladgarol a Gwrolfrydig o Orleans, yn Ffrainc, yr hon a losgwyd i farwolaeth. Pris 6ch.

—:—

## Yr Hen Amser Gynt.

Yn cynnwys 16 o Chwedleuon yr Hen Gymry, Defodau ac Arferion y Cymry Fu, yn amser Giraldus Cambrensis. Hanes Brad y Cyllill Hirion, a'r amgylchiadau cylchynol. Chwareu Cnappan, hanes am hen gamp a arferid yn Nghymru, yn enwedig yn Swydd Benfro. Cyflafan y Beirdd Cymreig yn Nghastell Beaumaris gan Iorwerth I. Tiriad y Ffrancod yn Abergwaun yn y flwyddyn 1797, yn nghyda dewrder a chyfrwysder y Cymry tuag atynt Pris 6ch.

—:—

## Hanes naw o Enwogion Cymreig,

Yn cynnwys Hanes Bywyd John Gibson, y Cerflunydd Cymreig, Di-ail. Bywgraffiad Richard Wilson, yr Arlunydd Cymreig Enwog. Hanes Gwrhydri Syr Thomas Picton, y Cadfridog dewr a phenderfynol. Cofiant Dewi Sant, Archesgob Ty Ddewi. Bywgraffiad Inigo Jones. yr Arch-adeiladydd medrus. Hanes y Parch. Rees Prichard, gynt Ficar Llanymddyfri Hanes Taliesin, Ben Beirdd: yr hwn oedd yn cydoesi a'r Brenin Arthur yn y chweched ganrif. Hanes Myrddin Emrys y Dewin, yr hwn a flodeuai yn amser Gwrtheyrn Brenin y Brytaniaid. Hanes y Brenin Arthur, yr enw mwyaf hynod a fu yn mhlith y Brythoniaid fel gwron a rhyfelwr. Pris 6ch.

## Llyfr i'r Teulu.

**Pedwar Ugain a Phedwar o Gynghorion Teuluaidd, Buddiol ac ymarferol. 92 o Gyfarwyddiadau i wneyd Diodydd Iachusol a Dymunol, at Wasanaeth Teuluol a'r Cyffredin. Gwybodaeth ar 12 o Bynciau Cyfreithiol 1878. Hanes Boneddiges Ddall a'i Helbulon; hefyd Penteulu yn cofio am ei Wraig a'i Blentyn gartref yn mhangfeydd Marwolaeth mewn brwydr a Morladron. Peggi Morgan, Hanesyn am Fywyd mewn Cylch Cyffredin, gyda Rhybydd i fod yn ofalus pa fath Ddyn a Briodir. Hanes Cwn: eu callineb, eu ffyddlondeb a'u gwasanaeth iddynt. Pris 6ch.**

—:—

## Hanes Gwledydd Tramor.

Yn cynnwys Gwlad yr Aifft, a'i Rhaniadau, ei hynafiaethau, a'i helyntion o ddyddiau Pharaohaid o hyd yn awr. Hanes Pyramidiau yr Aifft, yr adeiladau mwyaf rhyfeddol yn y byd. Hanes Abyssinia, o'r amser boreuaf hyd gwymp yr Erchyll Frenin Theodore. Hanes Poland: ei gorthrymderau a'i dadgorfforiad gan Rwssia a chenedloedd eraill. Hanes Ynys Ceylon a'i Thrigolion; eu harferion, a'u defodau; yr anifeiliaid, y coed a'r llysiau, &c. Pris 6ch.

—:—

## Hanes Prydain yn yr Oesau Gynt

Yn cynnwys Hanes Trigolion Cyntefig Prydain, goresgyniad yr ynys gan Julius Caesar a'r amddiffyniad gwrol o dan lywyddiaeth Caswallon. Hanes Prydain o ddyfodiad Brutus i'r Ynys hyd esgyniad Lles-ap-Coel i'r orsedd, y Brenin Prydeinig cyntaf a goflediodd y ffydd Gristionogol. Hanes Prydain, o deyrnasiad Lles-ap-Coel hyd farwolaeth Uthyr Bendragon. Taith yr Archesgob Baldwyn a Giraldus Cambrensis trwy Ddeheubarth Cymru 700 o flynyddau yn ol, i bregethu Rhyfeloedd y Groes. Taith yr Archesgob Baldwyn a Giraldus Cambrensis trwy Ogleddbarth Gymru i'r un dyben. Pris 6ch.

—:—

## Arthur y Ford Gron

A helyntion a defodau yr Hen Gymry. Mabinogion Arthur, ei orchestion boreuol, ei brif frwydrau, bradwriaeth medrawd, brwydr camlan. Cyflafan Morfa Rhuddlan, a helyntion y dref a'r castell. Y Pedair Camp ar Hugain yr Hen Gymry yn y cyn-oesoedd. Defodau Priodasol yn mhlith yr Hen Gymry gynt. Hanes Arthur yn goresgyn y Cyfandir, ac yn cymmeryd Rhufain. Pris 6ch.

**Pris Chwe' Cheiniog.**

# Y FFRAETHEBWR:

Yn Cynnwys

## Casgliad o Ffraeth-Ddywed-iadau, Byr-Chwedleuon, &c.

**Pris 1s. 6c.**



## Y Traethiadur;

NEU

**Y MODD O DDARLLEN A SIARAD YN GYWIR,**

YNGHYDAG

**Eglurhad ar Draethganu.**

*Gan R. HERBERT WILLIAMS.*

**"Hanes y Bedyddwyr yn Nghymru,"** gan J. Spinther James, M.A. Mewn Pedair Cyfrol, wedi eu rhwymo yn gryf mewn Llian, Llythyrenau Aur, &c., 29s. Cymmeradwyaeth :—"Fedyddwyr Cymru, anrhegwch eich hunain yn ddiymaros a'r cyfrolau gwerthfawr hyn, cewch fyd o fwynhad, os oes ynoch fymryn o hoffder at lenyddiaeth a mymryn o ddyddordeb yn hanes eich henwad, wrth eu darllen."—Parch A. J. Parry, D.D.

**Geiriadur Ysgrythyrol,** gan y Parch W. Davies, D.D., Argraffiad Newydd wedi ei helaethu a'i ddiwygio, gan yr Awdwr. Wedi ei addurno â chant a deg o Ddarluniau eglurhaol, wyth o Fapiau Ysgrythyrol, a Phortread. Cyhoeddedig mewn Llian am 16s.; Pris Gostyngol 9s

**Y Dyddlyfr Ysgrythyrol,** neu 365 o Draethodau gan 365 o'r prif Dduwinyddion perthynol i bob enwad, ar y testynau canlynol :—Yr Ysgrythyrau, Duw, Dyn, Crist, Edifeirwch, Ffydd, Cyfiawnhad. Adenedigaeth, Yr Ysbryd Glân, Heddwch, Cariad, Sêl, Llawenydd, Gobaith, Amynedd, Addfwynder, Sancteiddhad, Moesoldeb, Gweddi, Mawl, Sacramentau, Crefydd Deuluaidd, Gwenidogion, Gwrandawyr, Cyfoeth a Thlawd, Temtasiynau, Cystuddiau, Angau, Barn, Uffern. Y Nef. O gasgliad Idrisyn. Pris mewn llian 1s 6c.

**Taith y Pererin,** Gan John Bunyan. Addurnedig â darluniau. Cyhoeddedig am 2s. 6c. Pris Gostyngol mewn llian, 1s. 6c.

**Trysorfa'r Athrawon,** gan AK-FONWYSON, sef crynodeb o'r pethau mwyaf angenrheidiol eu gwybod er bod yn athraw defnyddiol yn yr Ysgol Sabbothol. Gyda Map Cymraeg o deithiau yr Apostol Paul. Pris mewn llian 1s. 6c.

**Esponiad ar Actau yr Apostolion,** gan y Parch John Wesley, M.A. Cyfieithiedig gan y Parch R. Hughes. Pris 1s

**Hanes Rhyfeddol D. L. Moody, a Sankey.** Yn cynnwys hefyd 15 o'u pregethau, a dyfyniadau o'u hanerchiadau,—574 o dudalenau. Mewn rhwymiad hardd, addurnedig â darluniau. Cyhoeddedig am 6s.; Pris Gostyngol 4s. 6c.

**Cofiant y Parch. Evan Thomas, Casnewydd,** Gyda nifer o'r Erthyglau Mwyaf Galluog a Ysgrifenodd, a Darlun Rhagorol o hono ar Acme Paper, gan y Parch W. Jones (Ap Rhys). Mewn llian hardd Cyhoddedig am 2s.; Pris Gostyngol 1s. 6c.

**Cofiant Dafydd Evans, Ffynonhenry,** Gan y diweddar Barch Benjamin Thomas (Myfyr Emlyn). "Y Cofiant mwyaf gwreiddiol, doniol, difrifol, digrifol, y mwyaf bywyd-debyg yn y Gymraeg." Mewn llian destlus 1s. 6c.; amlen 1s.

**Gwaith y Parchedig Evan Evans** (Ieuan Brydydd Hir). Golygiedig gan D. Silvan Evans, B.D. Cyhoeddedig am 3s. 6c.; Pris Gostyngol, mewn llian, 2s. 6c.

**Bywyd Enwogion,** yn cynnwys Breiniol Gofrestr; Hanes Owain Glyndwr; Hanes Bywyd Admiral Lord Nelson; Hanes Bywyd Napoleon Bonaparte; Hanes Bywyd Arthur Wellesley, Duc Wellington; Hanes Bywyd Dic Aberdaron a Thwm o'r Nant. Addurnedig â darluniau. Cyhoeddedig am 3s. 6c. Pris Gostyngol, llian 2s. 6c., amlen 2s.

**Cyfrol Werthfawr o Bregethau,** detholedig gan y diweddar Barch. W. Jones, Abergwaen. Pris 3s 6c mewn llian

**Cyfrol Werthfawr o Bregethau Detholedig,** gan y Diweddar Barch R. Hughes, Maesteg. Mewn llian 3s 6c.

**Detholion o Bregethau,** gan y diweddar Barch C. H. Spurgeon, gyda Chrybwyllion helaeth o fywyd Mr Spurgeon. Mewn llian 3s. 6c.

**Y Ffordd i'r Bywyd,** 21 o Bregethau yr anfarwol DR. GUTHRIE Cyhoeddedig am 2s. 6c. Pris Gostyngol 1s. 6c.

**Pregethau, Darlithiau, a Thraethodau.** Gan y Parch Rowland Hughes. Yn cynnwys 36 o bregethau, 5 o ddarlithiau, &c. Cyhoeddedig am 5s. 6c.; Pris Gostyngol mewn llian 3s. 6c.

**Barddoniaeth Cynddelw.** Dan olygiad IoanArfon. Hefyd TRAETHAWD ar fywyd ac Athrylith Cynddelw, gan J. Spinther James, M.A. Gyda darlun. Cyhoeddedig am 5s. 6c.; Pris Gostyngol. mewn llian, 3s.

**Teithiau a Barddoniaeth Robyn Ddu Eryri:** yn cynnwys hanes ei fywyd wedi ei ysgrifenu ganddo ef ei hun, yn mha un y gosodir allan ei deithiau yn Ewrop ac Amerig, yn nghyd a'r holl helyntion a'r dygwyddiadau a gyfarfu y dyn rhyfedd hwn yn ei oes; hefyd, ei GYFANSODDIADAU BARDDONOL. Addurnir y gyfrol hefyd â darluniau cywir o'r Awdwr, Gutyn Peris, Twm o'r Nant, Richard Llwyd, Lewis Morris, Thomas Pennant, ac Esgob Heber. Cyhoeddedig am 5s.; Pris Gostyngol 3s. 6c. mewn llian.

**Gweithiau Dewi Wyn o Eifion,** sef y BLODAU ARFON, &c., yn gyflawn fel yr oedd yn yr argraffiad cyntaf Hefyd. Cofnodau Helyntion ei Fywyd a'i Yrfa Faddonol gan Cynddelw gyda darlun hardd o'r Awdwr. Cyhoeddedig am 5s 6c.; Pris Gostyngol 3s. mewn llian.

**Pedwar-ar-hugain o Ddarluniau Ysgrythyrol,** wedi eu rwymo mewn llyfr. Cyhoeddedig am 1s. Pris Gostyngol, 6c.

**Uncle Tom's Cabin,** "Ewythr Tomos," gan H. B. Stowe. Pris 6c.

## 6 O LYFRAU POBLOGAIDD Gan y Parch. D. Oliver Edwards.

Mewn amlen o Bapyr Cryf **1s.** yr un; wedi eu rhwymo mewn Llian Destlus **1s. 6c.** y Gyfrol.

**1. Y Gwenith Gwyn:** Amcenir i'r llyfr hwn fod at wasanaeth yr Ysgol Sabbothol a Chyfarfodydd Llenyddol.

**2. Yr Ardd Flodau.** Un o'r llyfrau goreu i adroddwyr, &c.

**3. Y Pren Afalau.** Llyfr yn cynwys Traethodau, Dadleuon, &c., at Wasanaeth yr Ysgol Sabbothol a'r Cyfarfodydd Blynyddol.

**4. Efail y Gof:** sef Ymddiddanion ar Brif Byncian'r Dydd' Y Llyfr Poblogaidd.

**5. Y Blwch Difyrus.** Llyfr Newydd a phoblogaidd.

**6. Y Dadleuwr.** Yn Gynnwys Casgliad o Ddadleuon Digrif a Chrefyddol.

